# GRONOVIANA.

# GWAITH

Y

# PARCH. GORONWY OWEN, M. A.,

EI

## FARDDONIAETH A'I OHEBIAETH:

AT YR HYN Y RHAGDDODWYD

## HANES EI FYWYD;

YNGHYD A

SYLWADAU AR EI ATHRYLITH A'I GYNNYRCHION LLENYDDOL.

LLANRWST:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN J. JONES.

1860.

# MYNEGAI.

# GORONWY OWEN.

## EI FYWYD A'I GYNYRCHION LLENYDDOL.

"Yr hanes oreu am dano a ddaeth i feddiant carwyr ei waith sydd i'w chanfod yn ei lythyrau at ei gyfeillion, sef y llythyrau a ysgrifenodd ef o Donnington yn swydd Amwythig, Walton yn agos i Le'rpwl, Northolt yn agos i Lundain, a Brunswick yn yr America." Dyna oedd sylw rhagymadroddol y bardd a'r hynafiaethydd, Dafydd Ddu Eryri, yn ei gofion hanesol, i'r hwn y mae yn ymddangos ein bod yn ddyledus am y casgliad argraffedig cyntaf o Hanes Bywyd Goronwy Owen mewn cysylltiad ag eraill o "Feirdd Mon." Yn yr argraffiad presenol, ceir ychwanegiadau helaeth o ohebiaeth y bardd, anargaffedig o'r blaen, y rhai a daflant oleuni adnewyddol ar hanes ein cydwladwr gwiwgof, yr hwn a alwn, yn ddiosgedig o'i raddau eglwysig ac athrofaol, yn Oronwy Owen.

"Ceir yn son am Oronwy,
Llonfardd Mon—llawn fyrdd a mwy."

Y mae y gair yn cael ei sillebu weithiau *Gronwy*, ac yr ydys yn tybied mai yn y ffurf hono yr ysgrifenai y bardd ei enw, o herwydd yn ddiddadl mai felly y swnid y gair; eto yr ydys yn yr argraffiad hwn wedi anturio cydymffurfio â llythyreniad yr oes haiarnaidd hon.

Ymddengys ddarfod i Oronwy, gwrthrych ein cofiant, a mab i Owen Goronwy, Eurych, gael ei eni mewn ty bychan yr hwn sydd ar fin y Rhosfawr, ar gyfer y brifffordd gyffredin, (yr hon a elwir yn fynych ffordd Llannerch-y-medd) yn mhlwyf Llanfair Mathafarn Eithaf, yn Môn. Dywedir nad yw ei enw yn ysgrifenedig yn nghoflyfr yr Eglwys uchod: tybir iddo gael ei eni yn nghylch y flwyddyn 1722, fel y cawn eto achlysur i sylwi yn ein nodiadau ar ei *Gywydd i'r Calan*—dydd ei enedigaeth.

Yn ei bedwaredd flwydd ar bymtheg (a golygu ei fod wedi ei eni ar ddydd Calan 1722,) ysgrifenodd y llythyr Lladin, o'r hwn y mae y canlynol yn gyfieithiad, at Owain Meirig, Yswain, o Fodorgan, Môn, un o hynafiaid perchenog presenol y lle hwnw,—gadawn i'r llythyr siarad drosto ei hun.

ANRHYDEDDUS SYR, Medi 20, 1741.

Ym mhlith eraill o'ch lluosog rinweddau. y rhai ni fedraf eu cyfrif, y mae yr enw ardderchog sydd i chwi am gynnorthwyo eich cydwladwyr y byddo tuedd ynddynt at lenoriaeth, wedi fy nghefnogi i'ch trafferthu yn y modd hwn. Gwr ieuanc ydwyf fi, deunaw mlwydd oed, wedi fy ngeni yn mhlwyf Llanfair Mathafarn Eithaf, yn swydd Fôn. Trwy ddiflin ddiwydrwydd fy rhieni, y rhai sydd yn dlodion iawn, gellais fyned i Ysgol Gyhoeddus Bangor, ac aros ynddi o'r flwyddyn 1737 hyd 1741. Gwedi cyrhaedd fy mhenawd eithaf yno, a myned trwy yr hyn a ddysgir yn gyffredin yn yr ysgol, dychwelais at fy rhieni. Gwedi marw fy mam, priododd fy nhad wraig arall, a gadawyd i minnau ymladd fy ffordd fy hun. Gan nad ydwyf wedi ymarfer â gweithio, nis gwelaf un ffordd i ennill fy mywioliaeth; ac nid yw dysgeidiaeth i mi ddim amgen na chwaneg o lewyrch i ganfod yn amlycach wrtho y trueni sydd o'm blaen. Nid lles, ond niwed, yw yr addysg a roddwyd i mi gan fy rhieni, gan ei fod yn anghyfaddas i mi; a rhaid i mi weithian ystyried fy hun yn anhapusach na gweithiwr cyffredin, a fyddo gynnefin â'i orchwyl, oddi eithr rhoddi o ryw Faecenas i mi gynnorthwy cyfamserol. Yr ydwyf, gan hyny, yn dyfod yn ostyngedig atoch chwi, i erfyn eich cymhorth, yn gymaint a'ch bod yn arolygwr ar ryw elusenau, a roddwyd yn garedig er gwasanaeth y myfyrgar ym mhlith y tlodion, modd yr anfoner hwynt i un o'r prifysgolion. Pe gallwn gael hyn, cymhwysid fi i ryw alwedigaeth

ryddedog, naill ai yn yr eglwys ai mewn rhyw gylch arall. Os cyfrifir tlodi yn haeddiant, nis gwn nad ydwyf fi yn anad neb yn teilyngu eich cymmwynas. Ydwyf, Garedicaf Wr, Eich ufuddaf a'ch gostyngedig was, GORONWY OWAIN.

Ymddengys fod Goronwy wedi parhau yn yr Ysgol yn benaf trwy ddylanwad ei fam, ac yn ei bymthegfed flwydd dywedir ei fod yn is-athraw yn ysgol Rammadegol Pwllheli. Drwy haelioni Mr. Edward Wynne o Fodewryd, y galluogwyd ef i fyned i Rydychain, lle y graddiodd o Goleg Iesu. Ni wyddis a lwyddodd efe yn ei gais gydag Owain Meirig, Yswain: ond eafodd ei urddo, yn Ddiacon yn 1745.

Dyma'r chwedl a gawn yn y cyfwng hwn o enau y bardd ei hun yn ei lythyr at Mr. Rhisiart Morris, yr hwn sy'n argraffedig yn y casgliad hwn. "Dygwyddodd fod ar Esgob Bangor eisiau *Curad* y pryd hyny yn Llanfair Mathafarn Eithaf, yn Môn: a chan nad oedd yr Esgob ei hun gartref, ei Chaplain a gyttunodd â mi i fyned yno. Da iawn oedd genyf y fath gyfleusdra i fyned i Fôn (oblegyd yn Sir Gaernarfon a Sir Ddinbych y buaswn yn bwrw'r darn arall o'm hoes er yn unarddeg oed) ac yn enwedig i'r plwyf lle'm ganesid ac y'm magesid; ac yno y bum dair wythnos yn fawr fy mharch a'm cariad gyda phob math o fawr i fach, a'm tad yr amser hwnw yn fyw ac yn iach, ac yn un o'm plwyfolion." Eithr, ni cheir mo'r melus heb y chwerw. Och o'r cyfnewid! Dyma lythyr oddiwrth yr Esgob (Dr. Hutton) yn gorchymyn y guradaeth i wr ieuanc arall, efallai, a gobeithiwn mai felly yr oedd, heb yn wybod fod ein Goronwy eisoes yno dan benodiad y Capelwr. "Beth a wnai drwstan?" Aeth yn ol i Sir Ddinbych; a chafodd hanes curadaeth yn ymyl Croesoswallt. Urddwyd ef yn Offeiriad yn esgobaeth Llanelwy, a bu yn gurad yn Nhref Croesoswallt yn nhgylch tair blynedd, lle

y priododd yn Awst 1747. O Groesoswallt symudodd i Donnington yn Medi 1748, lle y ganed iddo ddau o feibion, enw yr hynaf oedd Robert, a'r ieuengaf Gronwy. Am ei wraig, ymddengys mai brodor o Groesoswallt oedd hi, o genedl gefnog gyfrifol. Ond ni fu efe ddim gwell erddynt, er ei fod wedi cael eu cydsyniad i'r briodas. Yr oedd yn destyn gofid i'r bardd nad oedd hi ond Cymraes anmherffaith iawn, er ei bod yn deall peth, ac ofnai i'r bechgyn hwythau dyfu i fyny yn iaith gwlad y caethiwed. Gwasanaethai *Ysgol* Donnington ac *Eglwys* Uppington am 26 punt y flwyddyn, am yr hyn ynghyd a digymwynasgarwch y trigolion y cwyna yn dost. Dan "Ysgottyn," o'r enw Douglas, yr hwn yn 1788 a wnaed yn Esgob Carlisle, ac yn 1799 yn Esgob Salisbury, yr oedd yn gweinidogaethu yma: ond yn Llundain yr oedd ei batron yn cyfanneddu y rhan fwyaf o'i amser gyda Iarll Baddon, (Earl of Bath,) fel athraw i'w fab. Yn un o'i lythyrau at Mr. William Morris o Gaergybi, canfyddir hanes ei fod newydd ymadael o Donnington, ac wedi cymeryd gafael yn nghuradaeth Walton, lle y mae yn dyddio ei lythyr Ebrill 30, 1753. Yno y preswyliodd oddeutu tair blynedd, ac yno y ganwyd ac y claddwyd ei ferch Elin, er cof am yr hon y canodd farwnad hiraethlawn a chwynfanus. Gwel tu dal. 29. Am ei amgylchiadau dywed— "Pymtheg punt ar hugain yw yr hyn a addawodd fy Mhatron imi, ond yr wyf yn dyall y bydd yn beth gwell na'i air. Ni rydd imi ffyrling ychwaneg o'i bocced, ond y mae yma ysgol rad, yr hon a gafodd pob Curad o'r blaen, ac a gaf finau oni feth ganddo: hi dal dair punt ar ddeg yn y flwyddyn, heblaw Ty'n y fynwent, i fyw ynddo, ac os caf hi, fe fydd fy lle'n well na deugain punt yn y flwyddyn."

Mae'n ymddangos yn debygol, mai'r peth a anogodd Goronwy Owen i ymadael o Walton, oedd disgwyliad am gael lle, megys gweinidog mewn eglwys Gymreig,

yn Llundain; ond nid yw yn ymddangos, ddarfod i'r amcan ynghylch sefydlu eglwys Gymreig yn Llundain, gael ei ddwyn i ben da;—yn ganlynol, nid oedd eisiau un gweinidog Cymreig, yn y lle uchod.

Mae yn ymddangos yn debygol, medd rhai, ddarfod i Oronwy ymadael o Walton, yn nghylch canol y flwyddyn 1755, oblegyd, ymddengys wrth un o'i lythyrau at Mr. W. Morys, ei fod ef â'i deulu yn Llundain, y seithfed o'r Mehefin, yn y flwyddyn hono; oddiwrth lythyr arall o'i eiddo at yr un gwr, ymddengys ei fod yn Gurad Northolt, o fewn 10 neu 12 milltir i Lundain, ynghylch y nawfed ar hugain o Ragfyr, yn y flwyddyn a nodwyd uchod (1755.) Mae efe yn crybwyll yn ei lythyr, ei fod yn Gurad yn y lle uchod ryw fesur o amser cyn y pryd yr oedd efe yn ysgrifenu at Mr. W. Morys.

Hanes ei sefyllfa yn Northolt a gynwysir yn y rhan ganlynol o'i lythyr at y dywededig Mr. W. Morys.

"Yr wyf yn byw mewn lle (fal y gwelsoch) a elwir Northolt, yn Offeiriad tan y Dr. Nicolls, Meistr y Deml *(Master of the Temple,)* yn Llundain. Mae'n rhoi i mi 50 punt yn y flwyddyn; lle digon esmwyth ydyw'r lle, am nad oes genyf ond un bregeth bob Sul, na dim ond 8 neu 9 o ddyddiau gwylion i'w cadw drwy'r flwyddyn, a chan nad ydyw'r plwyf ond bychan, nid yw pob rhan o'r ddyledswydd ond bychan bach; am hynny mwyaf fyth a gaf o amser i ysgrifenu i'm Cymdeithas, a phrydyddu, &c., yr hyn hefyd a ddechreuais er ys ennyd, er na chant hwy weled dim nes ei berffeithio."

Tebygol ddigon yn ol llythyrau Goronwy Owen, ddarfod iddo breswylio yn Northolt, yn nghylch dwy flynedd. Yn nghylch yr eilfed o Ragfyr, 1757, efe a ysgrifenodd annerch-lythyr cariadlawn a chwynfanus, at anrhydeddus Gymdeithas y Cymmrodorion, yn Llundain, i ddeisyfu ychydig o gymorth gan y Gym-

deithas, tu ag at ei gynorthwyo ef a'i deulu, sef efe a'i wraig, a thri phlentyn, i fyned, nid i *wlad*, ond i *fyd newydd*: sef, yr America: ond fel hyn yr ysgrifenodd Mr. R. Morys, llywydd Cymdeithas y Cymmrodorion, y pryd hwnw, ar gefn yr annerch-lythyr. "Y Parchedig Goronwy Owen, yn gofyn cymorth y Cymmrodorion, i fyned i Virginia. Ond nid oedd gwiw darllen y llythyr iddynt."

Mae yn amlwg oddiwrth lythyr Mr. Lewis Morys, a ysgrifenodd yn Llundain, Tachwedd y 17, 1757, at ei frawd, Mr. W. Morys, ddarfod i gyfeillion Goronwy, ddangos tosturi neillduol tu ag ato, at ei gychwyniad tu ag America.

Ac y mae Mr. Owen Jones, yn ddiweddar, o Lundain, yn ei sylwad ar eiriau Mr. R. Morys, ar gefn llythyr y Goronwy at y Cymmrodorion, yn tystiolaethu yr un cyffelyb beth. Dangosodd Mr. R. Morys haelioni neillduol tu ag at ein bardd godidog; yn mysg ei gymmwynaswyr eraill coffeir Mr. Parry, o'r Mint, y Person Humphreys, &c. ond uwchlaw pawb eraill, mae'n eglur wrth amrywiol o lythyrau ein bardd clodfawr, fod enw Mr. Lewis Morys, megis yn ymddisgleirio yn enwedigol, ym mysg enwau ei gyfeillion: efe meddir, oedd ei athraw prydyddol a'i brif gefnogwr; mae'n ymddangos hefyd wrth un o lythyrau y Goronwy, ddarfod i Mr. L. Morys, ar un achlysur ddangos haelioni tu ag ato, neu yn hytrach, tu ag at ei ddau fab ieuangc. Ond nid ydyw yn llwyr debygol, ddarfod i'r cyfeillgarwch gwresog, a fuasai gynt rhwng Mr. L. Morys a'i gydwladwr Goronwy Owen, barhau yn hollol ddi-anwadal, hyd ymadawiad y godidog Gronwy o deyrnas Prydain.

Mae enw y Parchedig Mr. Ellis, ar un amser, gweinidog Caergybi, wedi hyny, Person y Cneugae, yn Lloegr, yn haeddu cael ei goffau ym mysg cyfeillion a chymwynaswyr yr enwog Gronwy.

Arferai Goronwy gyfeillachu hefyd, gyda William Elias, gwr genedigol o swydd Gaernarfon, ond a dreuliodd ran fawr o'i einioes, mewn lle a elwir Plas yn y Glyn, yn mhlwyf Llanfwrog, yn Mon. Claddwyd W. Elias, medd y Parchedig Dafydd Ellis, yn ei Gywydd Marwnad iddo, yn y flwyddyn 1787.

Ni allwyd *lloffa* ond ychydig o hysbysiadau sicr am sefyllfa y Goronwy yn America, heblaw yr hyn a gynwysir yn ei lythyrau ef ei hun, y rhai sydd yn yr argraffiad hwn: yn ei lythyr ef at y Cymmrodorion, Tachwedd 2, 1757, mae efe yn nodi mai dau gant o bunau oedd ei gyflog ef yn y flwyddyn, yn ol myned i wlad yr addewid; mae'n ymddangos hefyd mai at le a elwid Williamsburg, yr oedd ei dynfa ef, ar ol glanio yn yr America. Mae Mr. L. Morys yn un o'i lythyrau yn crybwyll mai penaeth rhyw ysgol fawr oedd galwedigaeth Goronwy yn yr America. Mae lle i feddwl hefyd oddiwrth lythyr a ysgrifenodd Mr. R. Morys, at y Parchedig Evan Evans, Prydydd hir, yn nghylch y deunawfed o Fawrth, 1760, fod Goronwy yn perthyn i brif-ysgol, *(College)* ynghylch y pryd hwnnw.

Dyma'r geiriau sy'n ysgrifenedig yn llythyr Mr. R. Morys; "I find by a gentleman from Virginia, that poor Goronwy Gethin is still unfortunate, his second wife is also dead; and left him a heap of chlidren to maintain, I think 5 or 6: and her brother, the president of the college, insists on his maintaining them out of his own income. Digon er gyrru'r awen ar ddigrain, byth bythoedd."

Ystyr y geiriau uchod sydd yn rhedeg yn debyg i hyn: "Yr wyf yn canfod oddiwrth wr bonheddig o Virginia, fod Goronwy Gethin, druan, yn anffodiog o hyd: ei ail wraig sydd wedi marw hefyd; ac wedi gadael iddo bentwr o blant i'w coleddu, 5 neu 6 yr wyf yn meddwl; ei brawd Pen-llywydd y brif ysgol, sydd yn

pwyso arno, ar iddo eu cynnal ar ei gyflog blynyddol ei hun. Digon er gyrru'r awen ar ddigrain, byth bythoedd."[1]

Mae'r geiriau canlynol hefyd i'w gweled mewn llythyr oddiwrth Mr. R. Morys at y Parchedig Evan Evans, yr hwn lythyr a ysgrifenwyd yn y Twr Gwyn, yn Llundain, Hydref 28, 1766. "Dyma lythyr o *Fyrsinia*, yn mynegi fod y Goronwy yn berson yn New Brunswick, &c.[2]

Mae'n ymddangos oddiwrth y geiriau a ysgrifenodd Goronwy ar ddiwedd ei Awdl Farwnad i L. Morys, Yswain, ei fod yn berson St. Andreas, yn Virginia, yr amser hwnw. Mae Mr. Gwilym Owen, yn y llyfr a elwir *Cambrian Biography*, yn dywedyd i'r Goronwy ymsefydlu yn ddiweddaf yn Williamsburg. Tebygol

[1] Tybir mai gwraig weddw, yn perchen plant o wr arall, oedd trydedd wraig y Goronwy: os amgen, ni fuasai efe yn gwrthwynebu eu cadw a'u cynnal. Mae geirau Goronwy ei hun, yn y llythyr a nodwyd o'r blaen, yr hwn a ysgrifenodd yn mhen ynghylch saith mlynedd ar ol llythyr Mr. R. Morys, yn ddigonol debygid i chwalu ymaith bob amheuaeth yn yr achos hwn: medd ef, "Yr wyf yn awr yn briod â'm trydedd wraig, a chenyf dri o blant a anwyd yma," Gorph. 23, 1767. Ni chaniata lle i'r ysgrifenydd ymhelaethu ar yr amrywiol dybiau a achlesir gan rai o'i gyd-wladwyr, am y gwahaniaeth a ganfyddir yn y ddwy hanes a grybwyllwyd ddiweddaf, gwell y gwyddai y Goronwy am ei hanes ei hun, nag y gwyddai neb arall.

[2] Rhag i neb amheu gwirionedd yr hyn a gymerwyd allan o lythyrau Mr. R. Morys, gwybydder, fod llythyrau gwreiddiol y gwr uchod, yn gystal a llythyrau gwreiddiol ei nai, Sion Owen, yn nghyd a llythyrau gwreiddiol yr enwog Mr. E. Richard, o Ystrad Meurig, wedi cael eu hadferu yn ddiweddar, i feddiant Paul Panton, Yswain, o'r Plas Gwyn, ym Mon, i'r hwn y mae Casglwr y Cofion hyn yn rhwymedig, am gael ei anrhydeddu gyda channiatad i wneuthur defnydd o honynt.—D. Ddu yn y flwyddyn 1817.

fod geiriau yr awdwr uchod wedi eu gosod ar sylfaen ddilys a safadwy.

Mewn perthynas i amser marwolaeth ein bardd ardderchog, Goronwy Owen, nid ydyw yn ymddangos ddarfod i un sicrwydd hollol gyrhaeddyd yr ochr hon i'r cefnfor.

Yn nghylch y flwyddyn 1798, rhai o garwyr gwaith Goronwy Owen, a ysgrifenasant drosodd at ei fab, gan ddymuno cael hanes, pa un ai byw ai marw oedd ei dad; canfuwyd fod mab y Goronwy glodfawr, wedi ei lwyr Americeiddio, a'r ateb sarrug a roddes ef, oedd, y byddai raid iddo gael gwybod yn gyntaf, pwy a dalai iddo am ei drafferth, cyn yr anfonid un hanes am ei dad anrhydeddus Mr. Goronwy Owen. Dywedir hefyd, fod y mab, am yr hwn y crybwyllwyd uchod, wedi ei gladdu er ys rhai blynyddoedd.

O'r Cenadwr Americanaidd am Ebrill 1858, yr ydym gyda'r dywenydd mwyaf yn copio yr ysgrif ddyddorol a ganlyn, yr hon, er ei bod yn cynwys rhai ffeithiau eisoes o flaen y darllenydd, a ddyfynwn yn llawn llythyr.

"Oddeutu deugain mlynedd yn ol gwnaed ymdrech fechan gan un neu ddau o feirdd tlodion Cymru, i gael hanes manwl a chywir o fywyd a marwolaeth Gronwy Owen. Casglodd y rhai hyn yn dra ffyddlon fraslun o'i fywgraffiad, a rhan fawr o'i weithion. Hon, debygir, fu'r unig ymdrech a wnaed i gael hanes cyflawn o'r prif-fardd enwog, oddieithr y llythyr a anfonwyd gan Gymdeithas y Cymrodorion yn Nghaerludd, at ei fab yn Virginia, yr hwn a yrodd ateb byr a chwerw yn ol.

Fel hyn, y mae y genedl yn aros hyd heddyw (ac a erys felly mae'n debyg) heb gasgliad cyflawn o waith a bywyd ei phrif-fardd.

Ganwyd Goronwy Owen mewn bwthyn bychan yn mhlwyf Llanfair Mathafarn Eithaf, yn Ynys Fon. Ni wyddis dydd ei enedgiaeth mwy na dydd ei farwolaeth.

Y dyb gyffredin yw iddo gael ei eni yn y flwyddyn 1721, neu 1722, cant a phymtheg ar hugain o flyneddau yn ol. Gadawodd Gronwy dy ei dad pan yn un ar ddeg oed, ac aeth at berthynasau iddo yn Sir Ddinbych, lle y cafodd gyfleustra i ymdrin â llyfrau Cymraeg, Saisonaeg, a Lladin. Er fod ganddo waith i edrych ar ol tyddyn ei berthynas, ac er nad oedd ond un neu ddau yn yr ardal a allent roddi iddo hyfforddiant, eto, yr oedd ei syched am wybodaeth mor fawr, fel ag yr oedd yn abl i fyned drwy yr arholiad cyntaf yn y llys eglwysig, pan yr urddwyd ef yn ddiacon, neu is-offeiriad. Cymerodd hyn le oddeutu y flwyddyn 1747.

Yr oedd mor anhawdd cael unrhyw swydd gymhwys i duedd lenyddol danbaid fel yr eiddo Goronwy y pryd hyny yn y dywysogaeth, fel mai yr unig obaith am fanteision a mwynhad dysgeidiaeth, oedd cyraedd yr urdd offeiriadol. Ac ymddengys oddiwrth lythyrau Goronwy mai ei ymddifadrwydd llenyddol penaf oedd prinder llyfrau. Yn mhen ychydig ar ol ei urddo, cafodd ei sefydlu yn Offeiriad ei blwyf genedigol yn Mon.

Yr oedd y pennodiad hwn yn fwynhad o obeithion penaf y bardd. Cael lle yn mhlith ei gyfeillion; cael hamddem i ddarllen ac ysgrifenu; ac yn fwyaf oll, cael byw yn ei Fon ei hun. Y mae y cariad a'r ymlyniad wrth y fro gynhenid yn fawr yn mhob mynwes, ond yn fil mwy yn mynwes y gwir fardd. Y mae y plantos ar yr aelwyd, yr eiddew ar hyd y mur, y blodau yn yr ardd, y ffrwd fach, a'r ffynon, llethr laswerdd y ddol, a llwyni tlysion y dyffryn yn cael eu cyd-gasglu i'r un canol-bwynt, ac yn ffurfio yn arlun cywir ar y cof, i fod yno yn *fresh* bob amser. Ac er i'r plant syrthio fel blodau gwywedig i'r bedd, er i'r eiddew farw ar fur y bwth anghyfanol, er i'r gauaf anurddo y dyffryn a'r ddol, ac er na chlywir na chân na chrechwen drwy'r holl fro, eto gall y Bardd edrych ar y darlun, ac ad-ddwyn y

llanerch, yn ei harddwch gynt trwy nerth ei gân. Fel hyn y canodd Gronwy i'w wlâd.—

"Mae Alaw? mae Caw? mae cant?
Mae miloedd mwy eu moliant?
Pwy a rif dywod Llifon?
Pwy rydd i lawr wyr mawr Mon?
Henffych well, Fon, dirion dir,
Hyfrydwch pob rhyw frodir;
Goludog ac ail Eden
Dy sut,—neu Baradwys hen;
Gwiwddesdl y'th gynysgaeddwyd,
Hoffder Duw Ner a dyn wyd;
Mirain wyd yn mysg moroedd,
A'r dŵr yn gaa' twr it' oedd;
Eistedd ar orsedd eursail,
Yr wyd,—ac ni welir ail,
Ac euraid wyd bob goror,
Arglwyddes a meistres môr."

Ond ni chafodd Gronwy druan ond tymhor byr i ymhyfrydu yn Môn a'i thirionwch. Cyfododd ei haul ac esgynodd i'r entyrch, a machludodd yn y caddug, oll mewn tair wythnos. Gwelodd yr Esgob yn dda roddi lle Gronwy dlawd i ddyn ieuanc boneddig cyfoethog.

Gwnaeth Gronwy a'i gyfeillion yr ymdrechiadau mwyaf i gael lle yn Môn ar ol iddo golli diaconiaeth Llanfair. Yr oedd yn drwm ganddo ymadael a'r man anwylaf iddo yn y byd. Buasai, fel y dywedodd wrth Lewis Morys, yn falch i gael bod yn geidwad drws, ond iddo gael byw yn ei hoff Ynys. Ond er ei ddymuniadau cryfion oll, gorfu arno ymadael â Mon am byth, ac felly,

"Rho'i nos da i'r Ynys dywell."

Prydferth iawn ydyw ffarwel y Bardd pan ar ymadael, ac y dywed,

"Bellach f'yspryd a ballawdd,
Mi'th archaf i Nâf a'i nawdd.

Boed it' hedd pan orweddwyf
Yn mron llawr estron lle'r wyf.
Gwae fi! na chawn enwi nod,
Ardd wen, i orwedd ynod:
Pan gano trwmp Ion gwiwnef,
Pan gasgler holl nifer nef,
Pan fo Mon a'i thirionwch,
O wres fflam yn eirias fflwch,
A'i thorog wythi arian,
A'i phlwm a'i dur yn fflam dân!
Pa les cael lloches o'i llaid?
Duw rano dŷ i'r enaid:
Gwiw ganaid dŷ gogoniant,
Y'nghaer ser, yn ngôr y saint,
Ac yno'n llafar ganu,
Eirian eu cerdd i'r Ion cu:
Poed gwyr Mon a Goronwy,
Heb allael ymadael mwy.
Cyd-uned a llefed llu
Monwysion, Amen, Iesu."

Aeth Gronwy o Fon yn gurad plwyf bychan ger Croesoswallt; ac yno priododd â boneddiges o ddysg tra helaeth; ond ni allai siarad eithr ychydig o Gymraeg, gan fod y Saisoneg yn cael ei harfer yn hollol o'r braidd yn y dref a'r ardal. A thra yn aros yno y ganwyd Robert, eu mab hynaf. Symudodd o'r fan hono yn y flwyddyn 1748, i Donnington, lle y bu oddeutu dwy flynedd; ac yna symudodd i Walton, ger Llynlleifiad: ac wedi hyny aeth i Northolt, ger llaw Llundain, yn offeiriad dan ddyn dysgedig o'r enw J. D. Nicholls, D. D., Meistr y Deml yn y brif ddinas. Dyma y lle goreu a gafodd y Bardd, fel y dywed ef ei hun yn ei lythyr at W. Morys, Ysw., o Gaergybi. Ni oddef cynllun ein hysgrif i sylwi ar y symudiadau a nodwyd yn fanwl. A chwyddid ein hysgrif i feithder anmhriodol pe difynem lythyrau Gronwy o'r amrywiol fanau

hyn at ei gyfeillion. Ond y mae yn amlwg ei fod yn ymladd a'r byd i raddau helaeth, er mwyn cael digon i gadw ei deulu. Yr oedd yn ymgyraedd at fanteision a chyfleustra i gael llyfrau a chwmni ei gyd-lenorion. Ac hefyd y mae yn amlwg oddiwrth rediad ei lythyrau a'i aml symudiadau ei fod allan o'i elfen yn ei swydd, neu fod rhyw bruddineb ac anesmwythder naturiol i fardd yn llanw ei galon.

Yn y flwyddyn 1757, penderfynodd y Bardd adael ei wlad, a chwilio am gartref yn y byd pell, pell, a thra anadnabyddus y pryd hwnw i bawb o'r bron yn Mrydain Fawr.

Yr oedd Cymdeithas y Cymrodorion yn Llundain, y pryd hyn yn Gymdeithas dra urddasol. Darfu i'w haelodau gynorthwyo Gronwy Owen i ymfudo i'r byd newydd, drwy gyfranu yn haelionus iddo. Pwy all ddirnad teimlad cymysgedig y fath un, pan yn gadael ei wlad, heb fawr o obaith dychwelyd yn ol! Wele ein Prif-fardd yn llaw elusengarwch, gyda'i briod a'i blant bach, yn gadael ei wlad, gan wynebu môr, a hwnw o'r braidd yn anhyspys, ac felly yn ymfudo i wlad ag oedd braidd yn anial!

Ymddengys nad oedd yn fwy sefydlog yn y wlad hon nag yn Mrydain, canys yma symudodd yn aml o'r naill le i'r llall. Ar ol bod yn gwasanaethu un neu ddau o blwyfydd, cafodd ei neillduo yn un o'r dysgawdwyr yn Ngholeg William a Mary, Williamsburgh, Virginia. Symudodd oddiyno i wasanaethu mewn lle o'r enw St. Andrews, yn yr un dalaeth. Ni cheir fawr o'i hanes tra yn y wlad, ond trwy ei lythyrau ei hun at ei gyfeillion.

Darfu i'r ysgrifenydd benderfynu ymweled â Williamsburgh a manau eraill flwyddyn i'r haf diweddaf, er mwyn manwl chwilio i hanes y Bardd; ond darfu i amgylchiadau fy lluddias; felly gorfu arnaf ysgrifenu at y personau mwyaf tebygol i wybod rhywbeth yn ei

gylch. Y personau hyn oeddynt, Maer Williamsburgh, Pen-athraw William and Mary's College, Esgob Virginia, ac eraill hyddysg yn hanesiaeth y dalaeth.

Y cyntaf a roddaf i'r darllenydd yw llythyr R. Saunders, Ysw., Williamsburgh.

CYFIEITHIAD.

WILLIAMSBURGH, Va., Ebrill 18fed, 1856.

J. GORDON JONES.

'Anwyl Syr,—Ychydig amser yn ol, derbyniais lythyr oddiwrthych, cyfarwyddedig i Faer y dref hon, yn ymholi yn nghylch offeiriad o'r enw Goronwy Owain, yr hwn a ddaeth i'r dalaeth hon o Ogledd Cymru, yr hwn a sefydlodd yma ryw bryd cyn y chwyldroad. Er's pan dderbyniais eich llythyr, yr wyf wedi gwneud ymholiadau a'r Tra Pharchedig William Meade, D. D., Esgob y Dalaeth; ac hefyd a'r Parch. B. F. Mowrer, Periglor St. Andrews. Ychydig ddyddiau yn ol, derbyniais atebion, cynhwysiad pa rai a roddaf ger eich bron. Ond sylwaf yn gyntaf, fod enw y Parch. Goronwy Owen ar ysgrif-lyfrau Coleg William a Mary yn y ddinas hon, lle bu'n ddysgawdwr am ryw gymaint o amser. Ond nis gallaf ddeall ei fod yn gwasanaethu fel offeiriad tra bu'n gysylltiedig â'r Coleg.

Oddiwrth gof-lyfrau Plwyf St. Andrews, canfyddir fod y Parch. Goronwy Owen wedi bod yn Beriglor *(Rector)* y plwyf, o'r 13 o Ragfyr, 1760, hyd yr 22ain o'r Gorphenaf, 1769, ac iddo farw yno oddeutu yr amser hwnw. Ymddengys oddiwrth ran o'i ewyllys, yr hon sydd yn meddiant rhai o'i ddeiliaid yn Brunswick, ddarfod iddo adael ar ei ol bedwar o feibion, sef Robert, Richard, Goronwy, ac un arall, a darfod i'r ddau ieuengaf farw'n ieuainc. Pan fu Robert farw, gadawodd yntef ar ei ol amryw o blant, ac y mae dwy ferch iddo yn fyw yn awr. Mae y Parch. Mr. Mowrer yn fy hyspysu fod y boneddigesau hyn yn rhai tra chymeradwy, ond yn dlawd.

Drwg genyf na allaswn gasglu mwy o hanes y gwr hwn i chwi, yr hwn meddwch sydd mor barchedig gan eich cenedl. Wyf, Anwyl Syr, yn ostyngedig,

ROBERT SAUNDERS.

At J. G. JONES, Cincinnati, O.

Y llythyr nesaf o bwys ydyw llythyr y Parch B. F. Mowrer.

LARENCEVILLE, Va, Mai 14, 1856.

J. GORDON JONES.

Anwyl Syr,—Derbyniais lythyr oddiwrthych yn ymholi yn nghylch y Parch. Goronwy Owen, yr hwn a fu unwaith yn Beriglor St. Andrews, ac hefyd am ei ysgrifeniadau, os ar gael.

Er pan dderbyniais eich llythyr, ymwelais â'r teuluoedd sy'n berthynasau i'r dywededig Goronwy Owen. Dywedasant wrthyf na's gwyddent am unrhyw ysgrifau llenyddol o'i waith.

Y mae dwy wyres iddo yn byw o fewn naw milldir i ni, ac yn hynod o dlawd, ac nis gallai eich cenedl gyfodi gwell cof-golofn i'r dyn hwn sydd wedi anwylu ei hun gymaint, na gwneud rhodd arianawl i'w wyresau.

Beth bynag a allaf fi wneud tu ag at ddwyn unrhyw beth i'r goleu yn nghylch Mr. Owen, mi a'i gwnaf.

Eich ffyddlonaf, &c.

B. F. MOWRER.

At J. G. JONES, Cincinnati, O.

Derbyniais amryw lythyrau oddiwrth rai eraill, a rhai yn awgrymu y *gall* rhai o weithiau Goronwy fod yn mhlith hen ysgrifau y Coleg a manau eraill, ac y mae un yn awgrymu fod darlun o hono *(a Portrait in Oil Painting)* yn meddiant rhai o'r deiliaid yn Alabama.

Derbyniais lythyr hir-faith oddiwrth brif athraw y Coleg crybwylledig. Aeth y gwr parchedig hwn i'r drafferth i gopio llawer o ysgrifau yn dal cysylltiad â Goronwy Owen, ac yn eu mysg yr ymrwymiad Lladin-

aidd, pan oedd Goronwy yn cymeryd y swydd yn y Coleg.

Y mae yr ysgrif hon wedi chwyddo'n ormodol i feddwl sylwi ar ddawn ac athrylith y Bardd, felly cawn wneud hyny mewn ysgrif ddyfodol.

A chyn terfynu, dymunaf hysbysu fy nghyfeillion llenyddol fy mod yn meddwl yn ddios am ymweled â Virginia cyn hir, a chasglu pob ffaith yn dal cysylltiad â Goronwy Owen, Prif Fardd Cymru.

J. Gordon Jones.

### *Llosgiad Coleg Wiliam a Mari, Virginia.*

Y mae gohebydd yn ysgrifenu i'r *Drych* (papur newydd Cymraeg a gyhoeddir yng Nghaerefrog Newydd) gyda golwg ar yr amgylchiad hwn fel y canlyn:—Dydd Mawrth, y 10fed o'r mis diweddaf, Mawrth 1859, llosgwyd i'r llawr yr hen sefydliad ardderchog, Coleg Wiliam a Mari, Virginia.

Hwn oedd y Coleg hynaf ond un ar y Cyfandir hwn. Yr oedd yr amryw roddion o dir ac arian a neillduwyd ato o dro i dro yn ei wneyd yn un o'r rhai cyfoethocaf yn y wlad. Ond y ffaith fwyaf hynodol mewn perthynas ag ef oedd y fath gyfres o lyfrau gwerthfawr yn ei Lyfrgell, a llawer iawn o honynt heb gopi arall o honynt yn y byd. Bu haneswyr y wlad hon, Prydain Fawr, a Chyfandir Ewrop, yn ei thrafod, gan fod ynddi ddefnyddiau nad oeddynt mewn un llyfrgell arall.

Ond ni fuasai y distrywiad hwn o fwy pwys i ni, y Cymry, na channoedd o rai eraill, oni bai i ni gael colled yn y llosgiad hwn na adferir i ni byth bythoedd. Canys dyma lle y bu ein Prif Fardd Goronwy Owain yn Ddysgawdwr. A dyma lle yr oedd ei lyfrgell, a rhai o'i ysgrifeniadau, beth bynag. Ef allai i chwi weled ysgrif o fy ngwaith yn y *Cenadwr* rai misoedd yn ol ar Goronwy Owain, lle y crybwyllais am lythyrau a dderbyniais oddi wrth Lywydd y Coleg yn sicrhau hyn. Awgrymai ei fod bron yn sicr y gallai Cymro ymchwilgar gael llawer o lyfrau Cymreig a Seisonig o eiddo Goronwy, yn y llyfrgell fawr. Yr oeddwn wedi penderfynu ymweled yr haf nesaf â'r fan, a chasglu pob peth a ellid gael am y Bardd clodwiw. Ac yr oeddwn wedi parotoi pethau i'r perwyl hwnw. Ond O! mor ddrwg genyf yn awr fy mod wedi oedi cyhyd! Dyma un o ddymuniadau anwylaf fy oes i, beth bynag, wedi ei rwystro. Rhaid i ni, fel y Seison gyda'u Shacsper, ymdawelu yn hiraethlawn am na wyddem fwy am ein Prif Fardd ninnau.

[Safai y Coleg hwn yn Willamsburg, rhwng yr Afon Iago â'r Afon Iorc, yn Virginia. Sylfaenwyd ef yn y flwyddyn 1693. Bu Williamsburg unwaith yn brif dref Talaeth Virginia, ond pan symmudwyd y llywodraeth i Rismwnt, dechreuodd Williamsburg adfeilio, ac ni chynnwys bellach ond tua mil o drigolion. Ei unig ogoniant oedd ei Choleg; ond weithian y mae hwnw wedi myned yn aberth i'r fflamiau.—Gol. y Brython.]

# EI GYNYRCHION LLENYDDOL.

Er bod o honom yn llwyddiannus tu hwnt i ddysgwyliad yn ein hymgais i adferyd o ddifancoll ohebiaethau Goronwy, eto y mae llawer erbyn hyn wedi myned ar goll anadfer. Clywsom am un llythyr o eiddo Goronwy (a'r olaf a anfonodd o'r Americ am a wyddir) yn yr hwn y dywedai, "*Mae fy nghoesau fel priciau edafedd.*" Dywed ein bardd ddarfod iddo yru o'r America i'r wlad hon *swrn o lythyrau*, ac ni wyddai a gyrhaeddasant eu pennod ai naddo. A pha beth a ddaeth o honynt? Ni wyddom am well awdurdod ar y pen hwn na'r gwladgarol Owen Williams o'r Waenfawr, yr hwn a fu gynorthwy nid bychan i ni yn nghasgliad yr ysgrifau attodedig at ohebiaeth Goronwy Ddu. "Gallai," meddai'n cydwladwr, "bod y rhai hyny yn meddiant Barton Panton, Yswain, yn agos i Gaergybi, canys yno y mae holl lyfrgell y Plas Gwyn yn Mon, mewn hen gistiau mewn rhyw hen Ysgubor ac wedi haner braenu bellach am a glywais. Yr oedd yr hen foneddwr Paul Panton gynt wedi casglu holl lythyrau gwreiddiol Goronwy hyd y gallai, ac yno (yn y Plas Gwyn) yr oeddynt yn lluoedd, ebai Dafydd Ddu o Eryri wrthyf i ers haner can mlynedd yn ol." Ond erbyn hyn yn ddiddadl "cais lle bu" a fyddai ffrwyth ymchwil yn y fath dryblith. Ni chlywn air ychwaneg oddiwrth yr hyglod a'r gwladgarol Gordon Jones ychwaith ar yr achos: ond derbynied ein diolch cenedlaethol am a wnaeth. Pe dygwyddasai gweddillion y bardd syrthio i ddwylaw fel yr eiddo ef, nid dan ddyblygion oesol o lwch y buasent yn gladdedig, neu yn domenau braenedig fel y maent yn awr ysywaeth.

Nid ydys wedi arbed anrhyw drafferth i ymorol am ysgrifau epistolaidd y Bardd Du; a thybiasom y gallasai ymhlith eraill weddillion Lewis Morys, Yswain, gyfranu at ein defnyddiau; ond beth oedd ein siomedigaeth glywed un o'i ddisgynyddion a'i gyfenw, Lewis Morris, Yswain, ar yr hwn deallwn y mae mantell a deuparth ysbryd y "Blaenawr—Llew Mawr Môn" wedi disgyn, yn dyweyd * * "I regret to find that we have no information to give—the manuscripts and papers which ought to be in my hands are scattered in all directions—in the British Museum

Library, and in that of the Welsh School. A great many are destroyed at Wynnstay, &c. Thus it comes about that we have very few indeed of his manuscripts, which I regret can be of no use in furthering so truly national a work as the compilation of Goronwy Owen's manuscripts."

Dengys y chwedl ganlynol, yr hon sy bron yn ymylu ar ffug-iaeth, y *meddwl mawr* a goleddid am ei gyflymder yn dysgu ieithoedd. Dyma dystiolaeth un o ddisgyblion Dafydd Ddu o Eryri.

"Am Oronwy, yr oedd ef yn dlawd o ran perthynasau a phethau y byd hwn, ac felly allan o sylw mawrion ein tir i raddau, er fod ansoddau ei wybodau a'i ddysg tu hwnt i neb o'i gyfoeswyr. Mi a glywais fy hen athraw gynt yn dywedyd wrthyf, iddo glywed am Oronwy gan hen offeiriad, mai tair wythnos y bu ef yn dysgu yr Arabig, nes oedd mor alluog ynddi ag y gallai yn hawdd ateb yr holl gwestiwnau a ofynid iddo yn yr iaith hono, yr hyn a synodd ei athraw Arabaidd, yr hwn a sylwai yn fanwl ar ei lygaid duon yn chwarau yn effro yn ei ben, ac hefyd ar ei gorffyn, oedd o gyfansoddiad lled fychan, eto yn chwim yn mhob ysgogiad. Dywedir fod y gamp hono o'i eiddo yn llafur tair blynedd yn gyffredin. Bu'n astudio y Wyddelaeg wrtho ei hunan, nes oedd yn ddigon galluog i ymddiddan â phob Gwyddel, a hyny mewn ychydig amser. Yr oedd rhyw wyrth braidd yn ei gyflymdra i ddysgu ieithoedd, nes oedd yr Hebereg a'r Gryweg fel ei Gymraeg, iddo gyda rhwyddineb.

"Os gwyrodd Goronwy i yfed i anghofio ei dylodi, ac na feddylio am ei flinfyd mwy, fel y gorchymyna Salmon, Diar. 31. 7; nid oedd hyny ond peth naturiol i ddyn yn y fath amgylchiadau ag oedd ef. A diau i gannoedd mewn digalondid teuluaidd a masnachol syrthio yn ormodol gan fydol brofedigaethau i'r cyflwr hwnw. Pe cawsai Gronwy dderchafiad teilwng o'i dalentau yn nechreu ei oes offeiriadol, un i ddeg na chlywsid un gair twn am dano, ar yr achos y cyhuddir ef gan L. M."

Yr hyn a ganlyn sydd ddyfyniad o lythyr cyfaill, a chan nas gallwn wrthsefyll y demtasiwn o'i gyhoeddi, maddeued i ni hyn o hyfdra, a derbynied ein diolchgarwch am saig mor flasus:—

"I believe his first Curacy was Llanfair, &c., and Llanbedrgoch. There are no traces of the family now in Llanfair. He was then

obliged under the old law to quit his native Curacy, in order to make a title for one Ellis, a man of fortune. He lived at Tanyrallt, Bangor, and became Archdeacon of Merioneth: his Grandson, Mr. Ellis, Rector of Talaelhaiarn, near Clynog, is now living. That event was the commencement of Goronwy's mishaps. He was obliged to quit for England, no Curacy to be had *yn yr hen wlad*. I have been at Walton in my younger days, where I saw the old house and School, and his daughter's grave. That must have been about 1806. I met with one person, and only one old man who had any recollection of him. The Mr. Owen to whom he alludes was the celebrated Owen who wrote the Epigrams. This reminds me of the late Mr. Williams, Head Master of Llanrwst School. When Bishop Clever left Chester for Bangor, Mr. Owen, who was in his Diocese of Chester, being very intimate with the Bishop, informed his Lordship that he would find one worthy but neglected Clergyman in his new Diocese. The Bishop seemed very anxious to learn all about him. On his coming to Bangor his Clergy called upon him, and amongst others Mr. Williams; he observed the Bishop shewed him marked attention, and by degrees introduced Mr. Owen's name, and that with the highest admiration. The upshot was, that Williams was the first preferred to Llanbedr and Caerhun. Now all this hinged upon the poor Bard Goronwy. He was the main peg upon which all hanged. Williams, who was an enthusiastic admirer of the Bard, discoverd by his letters the allusion to Mr. Owen of Warrington. Williams wrote to him, and the correspondence continued, being men of kindred minds, up to Owen's death. My Grandmother knew the Bard personally, he was a small, quick, ready off-handed person."

Yn yr aralleiriad o awdl Anacreon cawn esampl ddihafal braidd o fedr a chelfyddgarwch mydryddol y bardd can gystled ag o deleidrwydd a naturioldeb ei darawiadau. Nid anferthwch a mawryddigrwydd y pyramid, ond yn hytrach tlysineb a gloywder y blwch perlau yw nodwedd yr awdl hon yn ei gwisg Gymreig. Y gwir yw y mae y bardd yn canu mor-gryf a nerthol fel y buasai yn gofyn mwy na nerth cawr i redeg gyrfa faith dan feichiau y pedwar mesur ar hugain gyda'r fath rymusder. Ond gan nad yw yn colli ei anadl nac yn arafu ei gamrau yn yr awdl hon mwy nag yn ei gyfansoddiadau ereill, eithr yn hytrach yn ychwanegu

ei gryfder, y mae ei nerth fel y dywedir am y rhedegfarch Eclipse, yn aros heb ei brofi. Yn awr er dangos cyflawnder a sylweddolrwydd disothach y ganig hon, rhown isod gyfieithiad bron air yn air o honi;—

Nature—that equitable arbitress—
Her part on every living being wrought:
Unto the brave—the dauntless warrior steed
Hoofs she dispens'd—horns to the ox;
Unto the plump sleek hare she swiftness gave;
Tusks sharp and long unto the lion bold;
Unto the fishes amid seas to swim;
Unto the wren to penetrate the air,
And unto man intelligence surpassing:—
But woman her part lacks. What shall hers be?
Beauty and grace—enough for comely woman;
Against the buckler and the glittering sword
A bulwark these—infrangible to steel and fire—
Nay fire with its wild and surging flame
Sinks into nought by woman fair. * * *

Ymddengys fel pe bai pob gair yn cymeryd ei le yn naturiol—"fel conglfaen nadd wrth gyffelybrwydd palas." Er ei fod yn canu yn gryf—er esampl y mae yn gofyn am y benywiaid—yr hyn mewn gwirionedd yw baich y pennill—

"Pa radau gant?"

y mae yn ateb yr unig ateb, mor rwydd a didrafferth a phe buasai yn llefaru mewn iaith rydd, heb son am gyfieithu i gynghanedd gaeth—

"Pryd a gwedd."

Ni chawsid byth frawddeg well a mwy *idiomatic* i gyfleu y syniad o *beauty* neu lendid corfforol na *phryd* a *gwedd*, na gair mwy cymhwys am deithi yr ystlen deg na "rhadau." Eto yn hyn i gyd yr oedd gan ein bardd i blygu ei ben i hawliau y ganghanedd

P r d g—p r d g,

A'r hyn yr ydys yn ei ddywedyd am y llinell hon yn unigol yw nodwedd gyffredinol ei farddoniaeth, yn bendifaddeu y llinellau hyn. Ni raid i ni ond darllen yr awdl hon o eiddo ein bardd na welwn nad rhyw fras weithiwr rhwydd mo hono, yn oruglwytho geiriau llanw heb na chystrawen na synwyr—nid y saer maen yn arllwys twr o forter o ddiffyg defnyddiau addas i lanw y gwagle, ond celfyddydwr hyfedr yn dethol ei feini, a'r meini oll mor

gymhwys i'w lle a phe buasent gynifer o gymalau y peiriant cywreiniaf.

Anfynych y cawn gyfieithiadau mor lithrig â chyfansoddiadau gwreiddiol, yn enwedig mewn barddoniaeth; eithr yn hytrach dynodir hwy gan mwyaf gan gryn lawer o glogyrneiddiwch ac afrwyddineb, ac y mae rhyw Shiboleth estronol neu gilydd yn sicr o'u bradychu bron yn mhob diwyg. Ond yma, atolwg, pa ddewin a fuasai yn dyfalu nad yn mold ymenydd Goronwy ei hun y lluniwyd annelwig ddefnydd y llinellau tarawiadol hyn? A phwy a fuasai byth yn breuddwydio am Anacreon na neb o ysbrydion y cynoesoedd, oni buasai i onestrwydd ein bardd Cymreig ei dueddu i gydnabod ei ddyled am y meddylddrych i'r hen fardd Groegaidd? A chan mai yr un *llygad sy'n gweled* anian yn mhob iaith, oes a hinsawdd, credwn y buasai yr hen delynfardd, ond bod yn gydnabyddus ag iaith y Brython, yn dotio ar dwtneisrwydd a thlysineb ei ganig yn ei gwisg Gymreig.

"Nid yw tân a'i wyllt waneg
Fwy na dim wrth fenyw deg!"

Nis gall dim fod yn fwy llithrig a naturiol na'r llinell olaf, eto ni oddef ei throi i'r Saesoneg yn llythyrenol oher-wydd priod-ddull y Gymraeg yw "*Fwy na dim*"—ac y mae ystyr yr arddawd *wrth* (*in comparison with*, which would be too prosaic) mor gynwysfawr fel nad yw yr arddawd Seisonig "*by*" ond dirprwy gwael ac anmherffaith o hono.

Yn awr chwenychem alw sylw y darllenydd at un gynneddf neillduol a feddai y bardd, nid *amgen ei ddyspwylledd i iawn brisio ei gynyrchion a'i alluoedd ei hun.* Yn wir, os cythryuddid ef cai y byd, fel y person Ellis gynt, wybod nad pris isel oedd hwnw ychwaith. A oedd ei olygiadau yn gywir am ei gynnyrch-ion ei hun (ac yn wir ni wyddom pa un ai talent ai gweithred o hunanymwadiad i alw y gallu i ffurfio barn deg am deilyngdod dyn ei hunan,) sy gwestiwn na ryfygai ysgrifenydd y llinellau hyn gynyg ateb doethoraidd iddo, heb appelio at farn y cyhoedd fel y llys goruchaf. Yr ydym yn cael fod Miltwn ymhell cyn esgor ar ei anfarwol Goll Gwynfa, yn rhaglunio rhyw waith mawr ar gyn-llun arwrol, yn yr hwn y bwriadai i holl allueodd anmhrofedig ei enaid ganolbyncio; ac er mai testyn arall a goleddai am amser

maith, eto Coll Gwynfa oedd y sianel eang ar hyd yr hon yr ymdorodd rhyferthwy nerthol ei athrylith ar y byd. "*I fully intend*," meddai Goronwy yntau "*to aim at something out of the common road, and try whether our language will bear a heroic poem.*" Ysgrifenai fel hyn yn y flwyddyn 1753, yn olynol i gyfansoddiad Cywydd y Farn; a'r casgliad gan hyny yw, gan nad pa mor fawr ei foddineb yn y Cywydd hwnw, ei fod ar yr un pryd yn credu y gallai fwy. Eto nis gallwn fraeredeg dros ei ohebiaeth heb dderbyn yr argraff ar ein meddyliau ei fod yn bwriadu Cywydd y Farn Fawr i fod yn fesurydd ei gryfder, wrth yr hwn y byddai i gyfodi neu ddisgyn fel bardd. Y mae y ffaith o fod y naill lythyr ar ol y llall yn udganu ei ddyfodiad i'r byd—y bardd hefyd yn manwl chwilio ei Homer a'i Virgil am enghreifftiau i egluro ei ffuguran a'i droellymadroddion, ac felly yn anuniongyrchol i ddadblygu ei ragoriaethau—ei bryder ynghylch ei ymddangosiad drwy y wasg, ac i goroni y cwbl ei esgymundod o'r person Ellis am ei wrthodiad o gynorthwy arianol i'w gyhoeddi; y mae y ffeithiau hyn, meddaf, yn gysylltiedig â theilyngdod mewnol y cyfansoddiad, yn ein harwain i'r casgliad ei fod yn gwystlo ei gymeriad fel bardd ar Gywydd y Farn.

A byth ni chyfyd o flaen ein llygaid destyn mwy toreithiog i'r awen, nid yn unig oherwydd na byddai *arddunol* neu *farddonol* ond ansodderiau tlodion yn eu cymhwysiad ato, ond hefyd oherwydd ei fod yn sylfaenedig ar ddysgrifiadau dwyfol Y GYFROL HONO, yr hon a fu yn arliwio ein dychymyg ieuengaidd, yn cerfnodi ein meddwl annadblygedig, ac yn trwytho ein llafariaith feunyddiol, ac ar yr hon yr ydym wedi dysgu edrych yn hytrach fel cydymaith mynwesol nag fel datguddiad arswydlawn o ddirgelion tragwyddol.

Yn y cylcharluniad synfawr a dŷn y bardd o olygfeydd dydd brawd, gwelir yn amlwg ei fod wedi trochi ei ysgrifbin yn ddwfn yn lliwiau yr ysgrythyr. Ni allasai amgen, ac ni fynasem amgen ychwaith; oblegyd, pe felly, dyrysasai ein hamgyffredion, a throisai y cyfan i un gyfundrefn gymysglyd o genedlddnwiaeth, a gadawsai ni ond odid, heb un meddylddrych dyffiniedig o wirionedd yr olygfa sylweddfawr hono a "wel pob llygad." Na—ni raid i'r fath destyn ddifrifddwys wrth wasanaeth Oreaid y mynyddoedd, na Naiaid y ffynnonau, na Dryaid y coedwigoedd, oherwydd

y mae gan y bardd eisoes o faes yr Ysgrythyr "y cedyrn o nerth sydd yn gwneuthur ei air Ef"—"y cerbydau" "y rhai ydynt ugain mil" eisoes wedi eu harneisio at ei wasanaeth—yr archangel a "thrwmp Iôn gwiwnef" yn barod at ei fant "i gasglu ger ei fron yr holl genedloedd." Ymaith a Thartarus y Groegiaid o wyddfod y fangre erch a brwmstanaidd hono a elwir gan Ysbrydoliaeth Ddwyfol yn "Uffern," yn "dywyllwch eithaf." A pha beth yw syched anniwall Tantalus ond cysgod egwan o amddifadrwydd y poenedig hwnw a ddeisyfai y "*dyferyn*" ac *ond* y DYFERYN i liniaru angerdd ei dafod crasedig? Beth oedd maen Sisyphus, er yn llaith gan chwys tragwyddol a dreiglid i ael mynydd colledigaeth, ac a adymchwelai i'r dyffryn, yn unig i'w ail-dreiglo i fyny drachefn, i fytholi ei gospedigaeth! Beth yw llafur diymbaid merched llofruddiog Danaus yn llenwi ac yn adlenwi, ac eto heb lenwi byth, y rhidyll redegog—neu chwŷl fythol yr olwyn wrth yr hon y rhwymwyd Ixiën? Y mae y cyfan—a mwy na'r cyfan—wedi eu hamblygu yn y geiriau, "Y rhai hyn a ânt i gospedigaeth dragwyddol." Beth yw darluniad duwiaeth genedlig o wedd annaearol y gwron Ajax yn nghysgodion y byd anweledig, neu o ysbryd gwelw Dido yn ymlithro i, ac yn ymgolli yn, ngwyll bythol nos, gan osgoi llygad a chofleidiadau ei hanwylyd? Neu beth yw Prometheus, yr hwn am ffurfio dynion o glai, a'u bywiocau â thân lladradaidd o'r nef, a ddedfrydwyd i'w gadwyno wrth fynydd Caucasus, i ddifa ei iau fythdyfol gan fwltur ysglyfaethgar? Beth, meddaf, yw hyn wrth arteithau y colledigion, "cadwynau y tywyllwch," a dirgnoadau "y pryf na bydd marw?" Nid oedd Tartarus na'r afon Styx wedi y cwbl ond penyd cnawdol; ac nid oedd Elysium a'i holl swynion paradwysaidd ond y chwareufwrdd ar yr hwn yr oedd y CNAWD—y *corph materaidd* a'i fwynderau iselwael yn ymgodi o flaen, ac uwchlaw, pob gwrthddrych arall, tra yr oedd y *dyn*, YR ENAID BYW yn ymgolli o'r golwg o leiaf, os nid i ddifodiant. Ie, y mae golygfeydd cospedigaethol duwiaeth genedlig yn rhy fud a byddar, ac yn rhy amddifad o fywyd; ac nid yw y meddylddrych a gyfleant yn cynnwys hyawdledd lleferydd yr Ysgrythyrau yn eu darluniadau o gosp yr annuw. Na, nid oes ynddynt mor *eangder* na'r *graddau* a gyfleir gan "uffern," Gehenna, Tophet, a'r llyn o dân, mwg yr hwn a ymgyfyd yn oesoesoedd i dywyllu

awyrgant y cyfanfyd ei hun. Ni raid i ni ond bwrw golwg ar fraslun rhwydd Dante, portread hyf Pollok, neu ddarlunlen fanwl ac eto aruthrol Miltwn, fel y mae yn ymddadblygu ger ein bron yn Ngholl Gwynfa, neu ar y llaw arall gymeryd cipdrem ar gyfrolau Patrick, Scot, Henry a Taylor, a llu o dduwinyddion goleubwyll eraill, heb son am droi dalenau Y LLYFR cysegredig ei hun, o adnoddau yr hwn y mae holl gyfoeth a hufen ein delweleddau mwyaf ysplenydd wedi eu benthyca:—ni raid i ni, meddaf, fyned gam ymhellach na'n beirdd a'n duwinyddion efengylaidd, na welwn y gwahaniaeth anfesurol rhwng uffern baganaidd Virgil, ac yn enwedig yr eiddo Homer, ac uffern yr Ysgrythyr, fel yr ydym yn cael rhithlewyrch o honi drwy agenau mur carchar yr Ail Farwolaeth.

Er fod defnyddiau Cywydd y Farn yn barod gan Oronwy, eto ar wasgar yr oeddynt drwy y gyfrol sanctaidd. Yr oedd yr esgyrn, y cig a'r giau ger ei fron; a gwaith y bardd mewn Cywydd rheolaidd, os goddefir yr ymadrodd, oedd anadlu bywyd iddynt. Yr oedd y cymmalau at law, ond y perygl oedd eu camgymmalu a'u hanffurfio:—yr oedd y pelydr eisoes wedi ymsaethu allan o ffynnonell goleuni, a gorchwyl y bardd oedd eu casglu i bryffwnt (*focus*) yn Nghywydd y Farn.

Yn awr y mae yn deilwng o sylw mai prydyddwaith dysgrifiadol ydyw, ac fel y cyfryw tybiwn fod yr awdwr wedi bod yn dra ffodus yn ei ddewisiad o'i fesur sef y Ddeuair Hirion. Ynghylch hyn ond odid ni bydd dwy farn: dyma ei hoff fesur; ac ymhellach yn ystorfa y mesur hwn—y Ddeuair Hirion, y mae y rhan fwyaf, can gystled â'r rhan fwyaf gorchestol o gynyrchion hen feirdd Cymru yn gorwedd o Ddafydd ab Gwilym hyd Ddafydd Ionawr. A pha well prawf o'i gyfaddasrwydd a'i gydymagweddiad ag aniaeth (*genius*) yr iaith ynghyd â'i rym a'i naturioldeb fel mesur dysgrifiadol na gweithiau y ddau fardd hyny, er mor wahanol oedd ffurfiad eu meddyliau? Nid ydynt hwy ond dau o leng a ellid nodi i attegu ein barn ymherthynas i deithi darluniadol Cywydd. Y mae yn wir nad yw yn meddu ar nerth Hir a thoddaid, ond y mae yn fwy tarawiadol, a hyn a wyddai Goronwy yn dda: ac i fenthyca ei eiriau ef ei hun ar achlysur arall, ni a ddywedwn am yr Hir a thoddaid ei fod—

"Mal cawr aruthr yn rhuthraw,"

ond am y Cywydd—

"Mal lladron dison y daw;"

ac ni a wyddom pan fyddo cawr yn ymguro yn ddrylliau yn erbyn y muriau, y gall y lleidr chwilena yn ddirgelaidd i mewn i'r annedd, a gwneud drwy gynllwyn a dystawrwydd, yr hyn na allai y cawr drwy nerth a thrais. Y cyfryw i'n bryd ni yw rhagoriaethau cymhariaethol y ddau brif fesur o'r pedwar-ar-hugain, y Cywydd Deuair hirion a'r Hir a thoddaid.

Os yw y darllenydd yn dysgwyl am ryw ffframwaith cywrain neu gynllun cordeddog yn Nghywydd y Farn, neu yn wir unrhyw o weithiau awenyddol ein bardd, caiff ei siomi. Nid oes yma mo'r sarn sy gan Miltwn drwy diriogaethau Chaos i gysylltu y ddau fyd, na rhestr o gadpeniaid, herodron na gosgorddluoedd byddinedig; ond megys yn y darluniadau Ysgrythyrol o ddydd brawd, gadewir dirgelion annatguddedig y peiriant dau len. Dechry y prydydd yn y ffordd glasurol, nid drwy gyfarch ei awen, ond trwy erfyn cymhorth goruwchddynol i drafod ei destyn—"DYDD BARN A DIWEDD BYD." Yn nesaf at sicrwydd ac ebrwydd-der y dydd yn ol rhagfynegiadau Crist, y saint a'r oraclau dwyfol, y mae y bardd yn portreadu y Barnwr yn dyfod fel cawr aruthr, ac eto, mor annysgwyliadwy â'r lleidr! Yna cawn yr angylion yn dwyn lluman y Barnwr—

"Llen o'r ffurfafen a fydd,
Mal cynfas, mil a'i cenfydd;
Ac ar y llen, wybrennog
E rydd Grist arwydd ei grog."

Os ydym yn iawn ddylyn tirnodau y bardd golygir cerbyd y Barnwr fel yr angel yn Miltwn yn sefyll megys ar gromnen y bellen ddaearol. Yna y mae Barnwr yn cyfeirio i olygfa y brawdlys—

"Dyrcha'n uchel ei helynt,
A gwân adenydd y gwynt."

Yn nghanol llongyfarchiadau ei angylion, y rhai yr oedd—

Eu gawr nerthol, a'u dolef,
Mal clych, yn entrych y nef,

4

Llef mawr goruwch llif mor-ryd,
Uwch dyfroedd aberoedd byd!"

Nid oedd hyn, fodd bynag, ond y rhagarawd i floedd yr arch-angel â'i gorn anfeidrol ei ddolef—

"Gosteg[1] a roir, ac Ust! draw,
Dwrf rhaiadr, darfu rhuaw!"

Yma darlunir effaith y wŷs amherodrol ar bedryfan y ddaear, yr hon sy'n ymhollti gan loesion—

"Pob creiglethr crog, ar ogwymp."—

Y mynyddoedd megys wedi eu lefelu yn nghanol y galanasdra—

"Twrdd ac anferth ryferthwy,
Dygyfor ni fu fôr fwy.
Ni bu ddylif yn llifo
Ei elfydd yn nydd hen No."

Yna y cawn "lugyrn nef," i arfer geiriau gwir glasurol y bardd, yn "*goddef*" gan lewyg—

"Nid mwy dilathr ac athrist
Y poen-loes cryf pan lâs Crist."

Yn ol y ffugur ysgrythyrol,

"Syrth nifer y ser (arw son!)
Drwy'r wagwybr draw i'r eigion."

A chyda chyfeiriad at y byw, y mae'n debyg, oeddynt i gael eu trawsnewid i fodau ysbrydol, y mae "pob cnawd o'i heng yn trengu" gan arswyd.

Ar hyn darlunir dorau yr uffernbwll fel yn *ymgladdu* yn ngwaelodion bro colledigaeth, a'r "wàl ddiadlam" yn *ymollwng* yn adfeilion fel ag i agor y ffordd i'r dosparth truenus hwnw o ddeiliaid y farn ag oedd yn poblogi uffern ddyfod allan i sefyll eu prawf yn mrawdlys y byd; tra y mae diafliaid dychrynedig yn ceisio glynu yn eu mangre—

"Cydfydd y fall â'i gallawr,
Câr lechu'n y fagddu fawr,"

[1] Nis gallwn gyfrif am y gwreiddgoll yma, os nad grym Samsonaidd yr awen sy'n dryllio llyffetheiriau y gynghanedd.

Yn awr am ddyfyn anwrthwynebadwy y Rhingyll i'r meirw, a thrwyddynt hwy i'r byw—

"Dowch y pydron ddynionach,
Ynghyd, feirw byd, fawr a bach;
Dowch i'r farn a roir arnoch.
* * *

Ac ar y gair—

"Cyfyd fal ŷd o fol âr,
Gnwd tew, eginhad daear,
A'r môr a yrr o'r meirwon
Fil myrdd uwch dyfnffyrdd y donn!"

Yna y FARN a'i gosgordd o "ddeuddeg ebystyl," i'r rhai yr addewsid y rhagorfraint o eistedd ar orseddfeinciau i farnu deuddeg llwyth Israel—

"Cyflym y cyrchir coflyfr,[1]
A daw i'w ddwy law ddau lyfr."

Yn awr am gyhoeddiad dedfryd yr annuw—

"Ysgwyd y nef tra llefair
Iesu fad, a saif ei air—
Hwt! gwydlawn felltigeidlu
I uffern ddofn a'i ffwrn ddu,
Lle ddiawl, a llu o'i ddeiliaid,
Lle dihoen, a phoen na phaid:
Ni chewch ddyben o'ch penyd,
Diffaith a fu'ch gwaith i gyd;
Ewch (ni chynnwys y lwysnef
Ddim drwg) o lân olwg nef,
At wyllon y tywyllwg,
I oddef fyth ei ddu fwg."

Ac fel hyn

"Troir y dyhir, hyrddir hwy
I le îs ei law aswy;"

[1] Y mae hyn mewn cytundeb â'r dysgrifiad a ddyry St. Ioan yn Llyfr y Datguddiad; ond cofus genym fod William Wynn yn ei Gywydd ar yr un testyn yn cymeryd golwg wahanol, er i'r un perwyl—

"Coflyfr nid rhaid i'r cyflawn."

ond am y cyfiawnion gwahoddir hwy gyda'r tiriondeb a'r gwarineb serchocaf—

> "Dowch i hedd, a da'ch haddef,
> Ddilysiant anwylblant Nef,
> Lle mae nefol orfoledd,
> Na ddirnad ond mad a'i medd:
> Man hyfryd yw mewn hoywfraint,
> Ac amlder y ser o Saint,
> Llu dïen yn llawenu,
> Hefelydd, ni fydd, ni fu.

Nid yw y bardd yn trafod ei bwnc ymhellach yn ei wahanol gysylltiadau, megys tynged tragywyddol y da a'r drwg, y cyfiawn a'r anghyfiawn, yr hyn mewn gwirionedd a fuasai yn anmherthynasol. Derfydd lle y mae ei destyn yn darfod, ond nid heb hyspyddu adnoddau dysgrifiadol y Bibl o'r Farn. Am yr *aflan*, y mae cenadau angeu yn gosod y ddedfryd mewn gweithrediad arno ef—

> "Gan y diafl ydd â'r aflan,
> A dieifl a'i teifl yn y tân;"

ond am yr Ynad a'i osgorddluoedd—

> "Try'r Ynad draw i'r wiwnef,
> A'i gâd gain â gydag ef,

Weithion y mae yr orchuddlen yn disgyn dros y chwareufwrdd difrifddwys; ac ni chlywn ymhellach ond adlais egwan ac eto obeithiol y bardd—

> "Crist fyg a fo'r Meddyg mau,
> Amen, a Nef i minau!

Ymddengys i ni mai nodwedd benaf y Cywydd hwn yw *grym dysgrifiadol*. Os *newydd-deb* a geisiwn cawn lai o hono ond odid yn y Cywydd hwn nag yn yr un o'i gyfansoddiadau; neu os ymofynwn am ryw gyfrodeddiad cywreinddull o wahanol bersonau fel llawweision iswasanaethgar i Arwr y gân, yn hyn eto cawn ein siomi. Nid oedd y bardd yn honi i'r Cywydd hwn nac i un o'i gyfansoddiadau yr enw o arwrgerdd *(epic poem)*, er fod y Cywydd hwn i'n bryd ni yn nes i safon arwrgerdd nag un aral

o'i gynnyrchion. Nid oes un amheuaeth nad oedd efe yn rhagfwriadu gwaith mawr ar y cynllun arwrol, oherwydd credai fod y Gymraeg yn ddigon cyfoethog i gyfarfod unrhyw destun; ond aeth ei oes helbulus heibio cyn cwblhau ei amcan, a gadael o hono un gân nac awdl *unigol* ar ei ol gyfartal â nerth ei athrylith a helaethrwydd ei ddysg.

Ymddengys fod rhyw ffugwyleidd-dra wedi attal i Oronwy ei hun ysgrifenu nodau eglurhaol ar Gywydd y Farn. a'r diffyg hwnw a gyflenwyd gan ei gyfaill a'i noddwr Lewis Morris. Llwyrfwriadasai wneuthur hyny ei hun; ac eto ni allwn lai na thybied fod ganddo law yn y gwaith, a'i fod wedi cyfranu swrn o'r defnyddiau i'r henafiaethydd a'r hanesydd dysgedig Llewelyn Ddu. Nid oedd raid fodd bynag ond awgrym—

> "Llunier i gall haner gair,
> Lle daw anghall â dengair."

Oddiwrth ei gywydd i'r Calan, yr hwn a gyfansoddwyd yn y flwyddyn 1752, edrydd i ni mai dyma nid yn unig ddydd ei enedigaeth ei hun ond hefyd yr eiddo ei fab Robert—

> "Calan, fy ngwyl anwyl i,
> Calan, a gwyl Duw Celi.
> * * * *
> Ar ddydd Calan y'm ganwyd
> Calan, nid annyddan wyd!"

Y pryd hwn yr oedd y bardd yn ddeg ar hugain oed fel y darllenwn—

> "Nodwyl fy oedran ydwyt,
> Ugeinfed a degfed wyt."

Cadarnheir y traddodiad am fyrder ei gorffolaeth a bywiogrwydd ei dymher gan y llinellau hyn—

> "*Diddan* a fum Galan gynt,
> A *heinif* dalm o honynt;
> Llawn afiaeth, * *
> *Ddryw bach*, ni chaid *llonnach* llango."

Buasai yn gymunrodd anhybris gan feirdd Cymru, o'r rhai y mae lluaws hyd heddyw yn tyngu ar greiriau Goronwy Ddu, pe buasai ein bardd wedi gadael i ni y fath ddarlun perffaith o hono

ei hun, ag a ddyry i ni yn ei ddarlunelliad penigamp o'r "Cidwm cyrrith, annynad, drwg-annwydus'' gan berson Walton. Ni wyddom yn iawn beth i wneud, chwerthin, arswydo a chrynu, ynte rhyfeddu at ei athrylith chwareus yn lluchio allan froddegau mynyddfawr gyda'r fath rwyddineb a choethedd iaith yn ei ddysgrifiad o'r ''climmach amrosgo, garan anfaintunaidd, afluniaidd, yn ei ddillad, o hyd a lled aruthr anhygoel, ac wynebpryd llew neu ryw faint erchyllach, a'i ddrem arwguch yn tolcio ymhen pob chwedl ddigrif, yn ddigon er noddi llygod yn y dyblygion, ac yn cnoi dail yr India hyd oni red dwy ffrwd felyngoch hyd ei ên." "Ond ni waeth i chwi hyny na phregeth," medd ein bardd, "y mae yn un o'r creaduriaid anferthaf a welwyd erioed tu yma i'r Affric: *yr oedd yn 'swil genyf ddoe wrth fyned i'r eglwys yn ein gynau duon, fy ngweled fy hun yn ei ymyl fel bad ar ol llong.*" Wele hail digon bellach, Goronwy, onide awn i weled Idris Gawr yn esmwytho ei droed drwy dynu allan o'i esgid dri graienyn, y rhai yn yr oes gorachaidd hon a elwir yn fynyddoedd o lawn faint, a Goronwy Ddu yn un o olafiaid diledach tylwythi teg Gulliver.

Gwelwn oddiwrth y Cywydd hwn nad oedd y bardd ieuanc yn gwbl ddiarchwaeth at ddifyrwch gwestfaol y gwyliau, nid amgen y ddawns; a'i fod mor foneddig a hunandybus ag ysgweier y plwyf yn cadw dydd ei enedigaeth—

> "Didrwst ni bu mo'm deudroed
> Ymhen un Calan o'm hoed."

Wedi cyrhaedd gwr-oedran y mae yn rhoddi i fyny chwareuon ei fabolaeth—

> "Nes y dug chwech ar hugain
> Fab ffraeth i fardd meddfaeth main."

Y ffon nesaf yn ngraddeb einioes Goronwy, fel pawb eraill, yw gofalon byd—

> "Er gweled, amryw Galan,
> *Gofal* yn lle cynnal cân."

Crybwyllwyd eisoes fod Hynafiaethydd y Waenfawr yn lledawg rymu fod ei faich o ofalon byd i'w priodoli i afrad teuluaidd y wraig, "yr hon," i'w dyb ef, "oedd yn rhy uchel i fod yn isel, ac felly yn afler a diles ac anfedrus hollol yn ei hansawdd

deuluaidd." Chwarae teg i'r "wraig Elin rywiog oleu;" o herwydd nid ydym yn cael fod Goronwy druan yn llai helbulus ac angenog gyda'i ail nai drydedd asen: a pha hwsmonaeth yn wir a allai wneud i gyflog mor fach ddiangenu teulu mor fawr?

Eto y mae y Calan yn cadw ei swyn yn wyneb troion chwith ar fyd, ar gyfrif y calenig a gafodd y bardd yn Robert bach—

"Cofiaf, Galan, am danad,
Un dydd y'm gwnaethost yn Dad,
A chattwyf hir barch itti,
Wyl arab fy mab a mi:
Gwiwrodd, pa raid hawddgarach
Na Robert, y rhodd bert bach?"

Ni ollyngwn y Cywydd hwn i'r Calan rhwng ein bysedd, heb ymgynghori â'r darllenydd yngbylch *orthodoxy* Goronwy yn y llinellau—

"Hardd gweled y planedau,
A'u llwybr yn y gylchwybr gau;
Tremiadau tramwyedig,
*A chall yn deall eu dig.*"

Ai tybed, mewn difrif, ei fod mor ofergoelus â derbyn serddewiniaeth yn erthygl o'i gredo? O'n rhan ein hunain, gwell genym gredu mai ar ysgôr y drwydded farddonol y mae yn talu y deyrnged hon i goel nad yw yn boblogaidd mwy, ond a fwriwyd dros y bwrdd gyda chwedlau bwbachod a drychiolaethau; ac yr ydym yn cael ein cadarnhau yn y dyb hon gan linellau eraill o'r Cywydd—

"Da, Wirnaf, yw pob diwrnod,
* * *
Un radd pob dydd o naddynt."

Ond boed hyny fel y bo, pwy sydd heb ei lygad dall? Yr oedd Dryden ei hun, yr hwn a gydnabyddir yn adgenedlydd barddoniaeth Seisonig, ac at yr hwn yn ei gysylltiad a phrydyddiaeth y Seison y cymhwysir gyda'r priodoldeb mwyaf yr hyn a ddywedir am Augustus yn ei berthynas â Rhufain—"lateritiam invenit, marmoream reliquit"—cafodd hi hi yn briddfeini, a gadawodd hi yn fynor; yr oedd y Dryden hwn wedi y cyfan, o weithiau lluosfaith yr hwn yr ymwystlai Pope i gasglu mwy o geinion o

bob rhywogaeth o farddoniaeth nag a geid yn yr eiddo un o'i gydoeswyr, eto mor rygoelus â eholedd serddewiniaeth, neu o leiaf ei haddef ym mhlith y gwyddorion.

"Yr oedd Goronwy yn fardd o groth ei fam, ac felly wedi ei eni yn fardd," medd un o'i hoffwyr: ac felly yn ddiddadl yr oedd ar yr un tir ag y dywedwn fod yr athronydd neu y mesuronydd yn gyfryw o enedigaeth: a dim pellach nis gallasai Goronwy na neb arall fod. Gallasai ei gydoeswr Pope, am yr hwn y dywedir "that he lisped in numbers" sefydlu ei hawl i'r enedigaeth freinniol o flaen Goronwy, oherwydd cydnebydd ei hun fod Ieuan Brydydd Hir yn hŷn bardd nag ef.

Er oesoedd boreuaf y byd, y mae rhyw syniad o gysegredigrwydd wedi bod ynglŷn wrth yr awen, a mawr y cecri a'r crasder â'r rhai y buwyd yn trafod y ddadl yn rhai o'n cylchgronau. Nid ydym yn tybied fod Goronwy ei hun yn honi tarddiad goruwchddaearol i'w awen, o herwydd ni chawn un awgrymiad fod y tân cysegredig erioed wedi cyffwrdd â gwefusau ei dad, Owen Goronwy; ond diau mai dylanwad damweiniol amgylchiadau, ei gysylltiad â beirdd, ac yn enwedig y Morusiaid, a fu yn offerynol i ddadblygu adnoddau ei feddwl—meddwl ag oedd yn alluog i ymgymeryd ag unrhyw anturiaeth, ac i ragori mewn unrhyw gangen o ddysgeidiaeth. Os trown i'r "Powysion" i ymholi i waedoliaeth yr awen, cawn fod y beirdd gan mwyaf yn ei dwyfoli. Y hi yw yr aw—dylif ysbrydoliaeth—y rhodd o Nef—Nef ferch hynaf—greddf anian—y fanon nefol—ac anadliad Duw. Os ymholwn â beirdd Rhufain cawn eu *Vates* hwythau yn broffwyd, gweledydd gweledigaethau, ac yn lladmerydd can gystled ac yn fardd.

> "'Twas surely prophetic that the name,
> Of prophet and of poet was the same."

*Nascitur non fit* oedd eu harwyddair hwy, *fit non nascitur* i'n tyb ni oedd Goronwy; ac yr oedd efe o'r iawn rywogaeth, yr hyn o ganlyniad sy'n dwyn cwmwl o amheuaeth dros linach *y faculty divine*, ac yn tori i lawr ei honiadau i ysbrydoliaeth arbenigol. Er hyny yn ei gywydd ar Fonedd a Chyneddfau yr Awen, y mae yn olrhain allan yr ymarferiad dechreuol â hi gan y nefol glêr—

> Dywaid, pa le caid awen
> Cyn gosod rhod daear hen,

A chael o'r môr ei ddorau,
A thyle dwr o'th law dan?"

Etyb—

"Ser bore a ddwyrëynt
Yn lluŵi gyd ganu gynt,
Canu'n llon hoywlon eu hawdl,
Gawrfloeddio gorfoleddawdl!
Ac ar ben gorphen y gwaith,
Yn wiwlanſcanu eilwaith;
Caed miloedd o nerthoedd Nef
Acow'n eilio cân wiwlef,
Meibion Nef yn cydlefain
A'u gilydd mewn cywydd cain,
'Perffaith yw dy waith Duw Ion,
'Dethol dy ffyrdd a doethion,
'A mad ac anchwiliadwy,
'Dduw mawr! ac ni fu ddim mwy'."

* * *

"Ni chydfydd awenydd wâr
A dynion dybryd anwar:
Ion ni rydd hyn o roddiad,
Wiwles, ond i fynwes fâd."

Ymwelodd y dduwies yn ol dychymyg y bardd â'n byd ni; dechreuodd delori tua gardd Baradwys gyda'n cynrieni yn eu hystad o ddiniweidrwydd—

"Cynnar o beth yw canu,
Awen i Foesen a fu."

Ni allwn fyned heibio i'r Cywydd hwn heb ddyfynu y dysgrifiad tanwiadol o ganiedydd Israel—

"Pyncio wnae fe fal pencerdd
Nefol, a rhagorol gerdd;
Prydodd dalm o ber Salmau,
(Fwyned im' ynt f'enaid mau!)
Canu'dwsmel, a thelyn,
Yn hardd a wnai'r gwiwfardd gwyn,
Gyd â'i law ydd aë'r awen,
(Wi, wi, i'r llaw wisgi wen!)
Ewybr oedd y boreuddydd,
Ei lais ym min dichlais dydd,

'Deffro fy 'nabl (parabl per!)
'I ganu emyn Gwiwner,
'I'm Ion y rhof ogoniant
A chlod â thafod a thânt.'"

Cyn myned ymhellach trawsgrifiwn yma lythyr oddiwrth Lewis Morris at William Vaughan, Yswain, o Gorsygedol a Nanhau, mewn ffordd o sylwadau ar geinion y Parch. Goronwy Owen, M. A.

"I wrote to you a good while ago, in behalf of poor Goronwy Owen; the greatest genius, either of his age, or that ever appeared in our country; and perhaps, few other countries can shew the like of him, for universal knowledge.

I shewed you Cywydd y Farn and some other pieces of his, when I was last at Nannau; and I have three or four pieces of his since, that are the best that ever were wrote in our language; and will endure while there is good sense, good nature, and good learning in the world; it is a pity, and the greatest of pities, that such a man as this, who is not only the greatest of poets, but a great master of languages, should labour under the hardship of keeping a school and serving a curacy, in the middle of Carn Saeson; and all for the poor income of £26 a year, when at the same time, many a fat parson, whom their neighbours say, have hardly common understanding, makes the earth groan under him when he treads it, because he hath some hundreds a year for not keeping a school, or serving his church! But however, let them contrive it as they will, all I want is, that our countryman, Goronwy Owen, should have meat to his mouth, and to his wife and two children. But I would choose of all things to get him into Merionethshire, it being impossible to get him into Cardiganshire; but he wishes to be in Anglesey, his native country. I am told you have good interest with the Bishop of Bangor; if you can get this man a living, you will not only make this man immortal but make me immortal too. And if you are so hard-hearted as to refuse me immortality when to be had on such easy terms, I should think you very cruel. My next shall bring you Cywydd y Gem, which is the last poem he hath wrote, the subject is a search for happiness. *Dedwyddyd* is the gem, he hath searched for, in all corners of the world, and after a great many fine descriptions and researches, with the help of philosophy and all kinds of learning, after consulting Solomon's Works, &c., he finds that gem is not to be had among the jewels on crowns, mitres, and caps, nor in short any where in the world. Then he finds a book written by another son of *David*, which tells him where it is to be found, and gives a lively description of that country, heaven, that is the subject; but nothing can come up with the beautiful terms and expressions throughout the whole, which make the writer not only worthy of a paltry living, but of the favour of all men of sense, in our country, and is really, not only an honour to the Ancient Britons, but to human nature in general. I do not remember, that I have sent you a copy of his cywydd, entitled *Bonedd ac Achau'r Awen*; a most excellent piece, the subject of that, as well as all his other subjects, hath something new and surprising in it; he first examines the Greek and Roman writers, and finds the accounts they give of their feigned Muses to be only the dreams of the Poets. *Breuddwydion y Beirdd ydynt.* Then he finds out an original far more ancient than the father of their music, &c., he finds that the Stars

of the morning sang the praises of God, and all the host of heaven.

They sung so loud, that the comets or wandering stars heard them, and jumped into their orbs again to join in the chorus.

Fe'i clywai'r ser disperod,
Llemmain a wnai rhai'n i'w rhod!

Adam heard them out of Paradise, and joined in the song; his wife was so well pleased with his singing that she came a proficient in it, and they sang together, the praises of God, all day long.

Here we have an original of poetry, which the superstitious Grecians and Romans knew nothing of; from hence he carries it to Moses and David, and gives some charming specimens of David's poetry.

Deffro fy nabl parabl per
I ganu emyn gwiwner, &c.

Then, he comes to the great poet Solomon, the author of the Song of Songs;

Fe gant gân, gwiwlan y gwau,
Cân odiaeth y caniadau,
Pwy ni châr ei Rôs Saron,
Lili a draenllwyni lion? &c.

These lines will last for ever, in spite of enemies, neither fire nor water can destroy them; nor will they perish till the world falls in pieces, and man is no more. I had forgot to give you a specimen of the song of songs by the morning stars, in the creation of the world.

"Sêr bore a ddwyrëynt,
"Yn llu i gyd ganu gynt,
"Perffaith yw dy waith, Duw Iôn,
"Dethol dy ffyrdd a doethion,
"A mâd ac anchwiliadwy,
"Dduw mawr, ac ni fu ddim mwy!"

When I see in Milton, Dryden, and Pope, such nervous lines, and grand expressions, as this poem contains, I shall admire them as much as I do Goronwy Owen, and not till then."

Ymhlith awdlau y bardd y mae Galareb Mr. Lewis Morys yn honi y flaenoriaeth fwyaf dibetrus, ac yn marn rhai dynion o chwaeth yn rhagori ar ei holl gyfansoddiadau eraill. Ond rhydd i bawb ei farn am hyn; ar yr un pryd, nis gallwn lai na gresynu fod dyn o chwaeth ddilin Goronwy Ddu yn ymostwng i lyffetheirio a gorgaethiwo yn wirfoddol ei awen fywiog yn yr alarnad hon. Y mae y pedwar mesur ar hugain yn ddigon caethion ynddynt eu hunain; ac er mai pell a fyddem o redeg i'r un eithafion â rhai i haeru eu bod yn farbaraidd o gaeth, eto ni wyddom beth i alw gwaith y bardd yn cyfyngu ei hun i'r terfyniad *on* drwy gorff yr holl awdl, ond *caethiwo caethiwed ei hun*. Nid oedd neb a allai ddirmygu gwag-gywreinrwydd ynfyd y fath fesur â Gorchest y Beirdd yn fwy nag efe; ac eto pwy fyth a ddyfalasai y gwelsid ef yn tynhau hualau trymion y gynghanedd am ei esgeiriau ei hun? Y mae yn wir fod ei awen fel rhedegfarch

gwisgi, nerthol a chyflymdroed; ond mwyaf y gresyni ei fod yn ei llestair, os nid yn ei lethu, gan bwysau afreidiol ei arfogaeth. Nid yw dyweyd fod y bardd yn canu yn gryf ac yn nerthol er hyny yn lleihau ein gofid, ond yn hytrach yn ei ennyn, am na chawsai ei awen, yr hon oedd yn amlwg erbyn hyn yn ei llawn aeddfedrwydd, ac eto heb lesgau gan henaint, 'well chwarae teg, ac awyrgylch mwy didawch i anadlu ynddo.

Gobeithiem na chaem o fewn yr awdl-farwnad hon un enghraifft o'r mesur plentynaidd a nodwyd, sef Gorchest y Beirdd, i gwblhau y pedwar ar hugain; ond er y buasem fel hyn yn foddlon ddirwgnach ar *dri* ar hugain ar hyn o dro, eto nid yw ein siom gymaint wedi ei weled. Dyma fe mewn priodas ag Huppynt Hir—

| | |
|---|---|
| Ef oedd Ofydd,<br>A dywenydd,[1]<br>Hylwybr Ieithydd | hil y Brython. |
| Gan wau gwynwaith,<br>Tlysau tloswaith,<br>Orau araith, | aur wron. |

Credwn mai y brif orchest, wedi y cwbl, yw, nid cyfansoddi, ond deongli Gorchest y Beirdd; a phrin y credwn y gwyddai degwm yr hen feirdd a ymhoffent yn y fath ddirgeledigaeth annirnadwy eu hystyr eu hunain. Ni raid wrth un Daniel, na gwybedydd gwybodau a chyfrinion Barddas i ddadrys y Mene Tecel Upharsin yn y pennill uchod, oherwydd cymerodd ein bardd y drafferth (ac yn wir nid bechan ei maint) o'i wneud yn ddealladwy i ni heb ryw lawer o benffwdan. Os daw y beirniad ymlaen i ddyweyd wrthym fod yr un gair ddwywaith yn y fraich "tlysau tloswaith," er mewn gwahanol ffurfiau, sef *tlws;* os daw y dwnedydd ymlaen drachefn gan gymeryd y gair *tlws* i fyny yn y rhyw fenywaidd fel y mae yn y cysoddair *tloswaith,* tra y mae gwaith o'r rhyw wrrywaidd; ac os daw y dyn o chwaeth ymlaen gan ddyweyd nad yw "orau araith" ond gair llanw, eto y mae yr ystyr mor eglur ag ydyw o briodol, sef fod gan yr aur wron, Llewelyn Ddu, ei geinion a'i ragoriaethau barddonol.

[1] *Dywenydd*—promoter, yn ei berthynas, mae'n debyg, â "Hil y Brython"; ac nid, fel y tybiwn, *difenydd,* fel un hyddysg yn yr Ysgrythyrau—nodwedd deilwng, fodd bynag, o gofnodiad yn nghymeriad unrhyw ddyn.

Ymegyr yr awdl-farwnad hon mewn dull a feddai fwy o newydd-deb yn ei dydd hi nag yn yr oes hon, nid drwy gyfarch Melpomene bruddglwyfus, nac un arall o'r chwiorydd-awenau, ond drwy ymdaflu ar unwaith *in medias res*—i eigion ei destyn.

"Och dristyd, ddyfryd ddwyfron!—och Geli!
Och galed newyddion!
Och eilwaith gorff a chalon!
Och roi'n y bedd mawredd Mon!"

Y mae yma deimlad can gystled â chelfyddyd, nid aoen awen huredig yr Eisteddfodau a glywn yn y geiriau, ond trydar wylofus hen gyfeillgarwch archolledig. Yn yr englyn rhagarweiniol hwn, y mae y bardd ar dderbyniad y "caled newyddion" yn ymddangos ger ein bron yn yr un agwedd â phatriarch gwlad Us pan y rhwygodd ei fantell dan bwys y trychineb a oddiweddasai ei feibion a'i ferched yn y wledd-ystafell. "Noeth y deuthum o groth fy mam, a noeth y dychwelaf yno," medd y naill, a

"Doethach im' dewi weithion,
Heb Lewis mwy, ba les Mon?"

yw iaith ymostyngol y llall.

Mor briodol i amgylchiad y bardd yn ei alltudiaeth, ac mor gydnaws â theimlad ei ddyfryd ddwyfron yw geiriau yr hen Gynddelw—

"Bardd difro dyfryd heb Arglwydd."[1]

Ystyriwn y trydydd englyn yn hapus â tharawiadol dros ben. Er fod y Werydd llydan a'i donau trystfawr yn ysgaru ei gartref newydd yn Virginia oddiwrth yr hoff "wlad a'i magodd," eto

"Cyd bai hirfaith taith o'r wlad hon—yno
Hyd ewynawg eigion;
Trwst'neiddiwch trist newyddion
Ni oludd tir, ni ladd tonn."

Nid y lleiaf o anffodion Goronwy oedd ei golled am ei "gâr hynaws ffyddlon," er ei fod wedi colli y rhan fwyaf o'i deulu ar y fordaith o Lundain i'r America.

"Llwydais i gan golledion,
Oer a fu'r hynt i'r fro hon."

[1] "Sad is the expatriated bard without his lord."

A pha fath un, atolwg, y troes "*y fro hono*" allan iddo? Nid yw y bardd yn dwyn rhyw dystiolaeth weuieithgar i diriogaethau America, nac yn talu rhyw foes neillduol i'w gefnder Jonathan—

> "Bro coedydd, gelltydd gwylltion,—pau prifwi g,
> Pob pryfed echryslon;—
> Hell fro eddyl llofruddion—
> Indiaid, eres haid, arw son!

Efallai mai rhoi anair diachos i'r wlad dda yr oedd ein bardd, neu efallai mai ei orhoffder at ei lwys Fôn oedd yn dallu ei lygaid at ddymunoldeb pob gwlad arall; hyn sydd sicr, nad oedd berygl yn y byd i Goronwy gyrchu mintai o ymfudwyr drosodd dan ei gadpeniaeth.

O barth y llinell, "Hell fro *eddyl* llofruddion," tybiwn fod y bardd yn cymeryd y gair yn yr un ystyr a Dr. Davies i arwydde *cenedl*, *pobl*, *carenydd*, *dynion;* ac wrth "hell fro eddyl llofruddion" ynte y mae i ni ddeall "gwlad ciwed o fwrddrwyr." Y mae yn deilwng o'n sylw yma, fodd bynag, nad yw y Dr. Pugh yn gwneud un gydnabyddiaeth o'r gair yn yr ystyr hwn, er nad oes dim amlycach, feddyliem, na bod y gair eddyl yn gorfforedig yn y gair *cenedl*, h. y. *geni* (γιγνομαι) ac *eddyl*, yr hyn a gyfetyb yn hollol i angenrheidiau y gair *cenedl*. Ni phetruswn honi y cydsaif y golygiad hwn yn well â'r defnydd cysefin a wneid gan ein hynafiaid o'r gair *eddyl*. Er enghrafft, un o achosion oediad cyfraith yn llys Hywel Dda oedd—

"Na bo hydrym iddo ei wlad nag i'w gennad, neu fod *mordwy gweilgi rhyngtho a'i eddyl*;"

h. y. "when one's country is not accessible (HYDRYM—*hy-tramwy*) to oneself or messenger, or there should be an overflow of the sea between one and *his nation* (or proper place of jurisdiction)," ac nid "*between one and his duty*" ys dywed Dr. Pugh.

> "Cyfarch dydd da, gwae a'i gwyl
> Iddyn', ddiffeithiaf eddyl."

meddai T. Prys am y gwr o Faelor a'i wraig, yr hyn yw—Woe to him who shall witness the greeting of an auspicious day to them, *vilest wretches*," ac nid "*worthless duty*" yn ol Pugh. Wrth "eddyl beirdd Ynys Brydain" yn ddiddadl y deall Barddas, 'the bardic clan of the Isle of Britain," ac nid "*duties*"; a "rhybuddiaw gorwlad rhag eddyl arglwydd y genedl" ydyw "to warn

a foreign country against the troops of the sovereign of his own nation," ac nid "against the purpose of the sovereign of his own nation."

Ond y mae yn rhy anmherthynasol i ni yma luosogi enghreifftiau i attegu golygiadau Dr. Davies a Goronwy Ddu, a chan hyny deuwn yn ol at y pwnc mewn llaw.

Beth a all fod yn brydferthach na'r proest cyfnewidiog a ganlyn, lle y mae yr awdwr yn canu yn iach i'w hen gyfaill a'i gymwynaswr? A hyny er gwaethaf caethder y mesur, yr hwn sy'n gofyn i'r cydseiniaid yn niwedd pob ban fod yr unrhyw, ond i'r llafariaid amrywio o'r *a* i'r *y* yn rheolaidd, tra y mae y Gymraeg yn hynod dylawd o eiriau unsillafog, yn enwedig o gyffelyb derfyniad.

"Yn iach oll awen a chân,
Yn iach les o hanes hen,
A'i felys gaingc o flas gwin;
Yn iach im' mwyach ym Môn
Fyth o'i ôl gael y fath un:
Yn iach bob sarllach a sŵn,
Un nawa â dail einioes dyn."

Cyfeiria y bardd yn deimladwy at ddamweiniau a ddygwyddasent i wrthddrych yr alareb yn y gwawdodyn hylithr isod; ac y mae yn fwy na thebyg fod yma radd o waedguriad byw profiad personol y bardd ei hunan—

"A fynno gyrraedd nef wen goron,
Dwy ran ei helynt drain a hoelion;
Pigawg, dra llidiawg drallodion,
Croesau, cryf-loesau, criau croywon;
Erlid a gofid i'w gyfion—yspryd,
Ym myd gwael bawlyd ac helbulon."

Yn ei wawdodynau dysgrifiadol o Lewis Morris yr ydym yn gweled y DYN—nid rhyw gyffredinedd (*generalization*) ond llinellau dynodol ei gymeriad fel athronydd ac ysgolor—

"Mesurai, gwyddai bob agweddion,
Llun daear ogylch. llanw dwr eigion;
Amgylchoedd moroedd mawrion,—a'u cymmlawdd,
Iawn y danghosawdd, nid anghyson,
Daear a chwiliodd drwy ei chalon,
Chwalai a chloddiai ei choluddion;

A'i dewis wythi meini mwynion:
A thew res euraid ei thrysorion,
A'i manylaf ddymunolion—bethau,
Deuai i'r golau ei dirgelion.
Olrheiniodd, chwiliodd yr uchelion,
Llwybrau 'r taranau a'r terwynion;
Ffiamawg fellt llamawg folltau llymion—
Is awyr gànnaid a sêr gwynnion,
Nodau'r lloer a'i newidion,—hynt cwmmwl
O fro y nifwl i for Neifion."

Yn y fan hon y mae yr awen wedi esgyn crib uchaf molawd yr ymadawedig—"arbenigrwydd clod," ys dywedai yr hen Gymry; ac oddiyma y mae y dduwies yn edrych arno yn ei gylch cymdeithasol fel goleuedydd, hyfforddwr ac athraw y sil brydyddol. Credwn fod y dull derwyddol tafodleferydd hwn o gyfleu yr addysg gyfrinol, nid amgen egwyddorion barddas, wedi diflannu yn Nghymru gyda Dafydd Ddu, yr hwn a gyfenwid gan Ddewi Wyn yn

"Ewythr i feirdd—athraw fu,
Cefn wrthynt i'w cyfnerthu."

Bu Goronwy ei hun dan ddysgyblaeth ysgol y prophwydi, a "chyda phob dyledus barch i goffadwriaeth Mr. Lewis Morris y mae yn tra diolchgar gydnabod mai iddo ef y mae yn rhwymedig am yr ychydig wybodaeth yn marddoniaeth y Cymry a ddaethai i'w ran; ac y mae yn ffyddlon gredu (nid er gwarth nac er gogan i neb) y gall y rhan fwyaf o feirdd Cymru gyfaddef yr un peth." Y canlyniad a fu, fodd bynag, fod Cymru yn heigio gan feirdd can amled ag eogiaid ei llynoedd a'i hafonydd, os gwir a ganlyn, sef mai lle y

—— "Bu'r diddysg brydyddion—brin ddau,
Fe rodd *ugeiniau* o hoywfeirdd gwynion.

Ni chawn ymhellach ddyfynu ond un gyhydedd o'r awdl hon, a hyny a wnawn yn benaf ar gyfrif ei lledneisrwydd a'i naturioldeb, er fod "daear a nef a dwr yn afon" i'w llyncu *cum grano salis*—

"A thra bo urddawl athraw beirddion,
A mwyn dysg wiwles mewn dwys galon,
Gwiwdeb ar iaith a gwaed y Brython,

Ac awen Gwyndud ac ewyn gwendon,
Daear a nef a dw'r yn afon
Ef a gaiff hoywaf wiw goffeion."

Wedi hebrwng ei hoffus gyfaill ar hyd y llwybr marwnadol cyffredin o ganol "caledi cyni cwynion" i fyd yr heddwch, lle y mynai daearolion i'w hoffusion orphwys, y mae y bardd yn dystewi gydag eidduned ar ei ran ei hunan am "allu i ymuno â llu mwynion" y Monwysiaid i brydu perwawd y Ceidwad.

Yn awr wrth blygu i fyny yr awdl-farwnad hon, yr hon sy mor hysbys i hoffwyr y bardd, gallwn sylwi fod ynddi rai rhanau mor rymus, gorphenedig a chelfyddol fel ag i ad-dalu am ranau eraill mwy cyffredin a llai nodedig. Os na thybir ni yn wrthneugar o chwaeth anturiwn un sylw ymheilach; a chan nad ydym yn honi anffaeledigrwydd, yr ydym yn foddlon i gamsynied os dyna a fydd dedfryd y darllenydd arnom. Os oes diffyg yn yr awdl ardderchog hon, (a pha awdl, mwy na dyn di-fai nad yw heb ei eai?) y diffyg hwnw i'n tyb ni yw absenoldeb crebwyll, neu y gynneddf hono o greu a dychymygu delweddau amrywiol mewn amrywiol ffurfiau a chysylltiadau: ac os yw y Farwnad hon ar y cyfan drwyddi draw yn syrthio yn fyr i Gywydd y Farn, yr hyn i'n bryd ni sy wirionedd; oni all hyny fod i'w briodoli i ragoriaeth fframwaith y cyfansoddiad can gystled ag i oruchder testyn y Farn Fawr? Ni fynem farnu yn ehud, llawer llai ystaenio cerdd mor goethedig; ond ni allwn gelu ein digofaint at y bardd, yn llawn addfedrwydd barn a dyddiau, am lyfetheirio a charcharu ei feddwl mawr o fewn cylch mor gaeth—yr *on*, *ion*, *ion* undonol sy'n rhedeg drwy yr holl Farwnad o'r "dyfryd ddwyfr*on*" yn ei dechreu hyd y "Monwys*ion*" yn ei diwedd. Eto, syndod meddwl, y mae ein Peganini Cymreig yn canu mor esmwyth, diymdrech ac amrywiol fel na wyddom ei fod yn chwarae yr alaw ar yr un tant o'r dechreu i'r diwedd, oni bai ein bod megys yn gweled ei fysedd—y sillafau yn terfynu yn unffurfiol.

Syrthia i'r unrhyw ormod rhysedd yn ei farwnad i'w unig ferch, drwy ymgyfyngu yn afreidiol at y gydsain *n* yn ei orphwysfeydd. Yn un cyfnod o'i yrfa brydyddol yr oedd yn chwannog i dramynychu y gynghanedd *lusg* a'r *sain*, o ba herwydd y dwrdiwyd ef yn ei wyneb gan y Parchedigion William Wynn, Llangynhafal, ac Evan Evans, y Prydydd Hir. Gyda golwg ar yr achwyniad

uchod y sylwa Goronwy—"Hyderus ydwyf na fydd gan y GWYN na'r HIR ddim yn erbyn yr Awdl hon (sef yr un i'r Gwynedd-igion) o herwydd y *lusg* na'r *sain*, am na wn fod yr un o'r cyfryw o'i mewn." Fod sail i'r cyhuddiad sy wir; ond pa un ai bai ai rhinwedd ydyw, gadawn hyny i'w benderfynu rhwng yr hen Ysgol a'r newydd. Ond bid fai, bid rinwedd, hona cyfaill brwdfrydig o'r eiddom "y dylai pob bardd ieuanc ddysgu dafodleferydd awdl-farwnad Lewis Morrus er mwyn cenedlu grym ac yni barddonol yn y cyfansoddiad meddyliol." Wele, hai! o'r goreu hyd yma; "ac heblaw hyny, gwaith Lewis Glyn Cothi, Lewis Morganwg, Tudur Aled, Sion Brwynog, Deio ab Ieuan Ddu, Ieuan Ddu'r Bulwg, William Lleyn, Dewi Wynn o Eifion a'r cyffelyb, ac er dim ymochel rhag darllen barddoniaeth iselaidd, a chymeryd ei lw na ddarllena byth bythol unrhyw bryddest o fath yn y byd;" ac yna cawn y *beau ideal* o fardd. Eto medd ein hen gydymaith dyddan ac uniongred—"Ni fedd ein cenedl ni ddim ystumog i ddysgu pedair llinell byth o naddynt (rhigymau Cymreig yn ol mesurau Seisonig) ar dafodleferydd: tra y dysga dyn heb fod yn fardd, hyd yn oed dyrnwr yn yr ysgubor, neu ryw weithiwr arall, englyn dafodleferydd yn y munyd, yr hyn sy'n profi na fedd pryddest unrhyw anianawd Gymreig o fath yn y byd; a bellach dylid ei hwtio a'i hysio a'i hyrio ymaith o fwrdd barddoniaeth, o leiaf felly y gwnaethai Goronwy Owen pe buasai fyw heddyw."

Wel, wel, os felly, y mae yn dda na ŵyr pryddestwyr Cymru yn mha le y mae llwch barddonol y Bardd Du yn gorphwys, gan y perygl o fod i'w traed gael eu swyno i ymsymud mewn mydr a chynghanedd ar ei fedd!

Er cymaint sy genym o farddoniaeth bur ddiledach yn y mesurau caethion, eto nid yw mwnglawdd y gynghanedd yn ddihyspydd. Y gwir yw, pe bai ein gwrthdroedwyr a ninau yn ymryson todd-eidio ar yr orphwysfa *on*, *ion*, er esampl, yr ydym yn rhwym o ddyfod i'r un cyfeiriad os nad i'r un peth. *Moroedd mawrion, llynau llawnion*, *tannau tynion*, *dagrau digron* a fyddai hi hyd yn oed ped adseinid y breichiau yna o begwn y gogledd i wrthbwynt y dê: ac heblaw hyny, y mae geiriau lluosill yn fwy agored i adymgyplu â'u cymheiriaid o herwydd eu bod o ran eu cymmalau yn fwy anamrywiol; ac i'r ffaith hon yn ddiddadl yr ydys i briodoli newydd-deb aml fraich dlos o gywydd Deuair Hirion a

ganfyddwn yn fynych gan ein cydoeswyr. Ar y cyfan addefir mai iau yw y gynghanedd nad allai ein tadau, a llai ni, ei dwyn; a pho fwyaf a rygnir arni, anhawddaf yn y byd y mae yn myned i osgoi sathredigrwydd: felly y mae hi wedi gwneud ei gwaith yn dda—gall ymffrostio mewn cyfansoddiadau gwir deilwng, y rhai a'i hanfarwolant yn y deml farddonol. Y mae hi eisoes wedi myned yn rhy hen i ymgymeryd ag anturiaeth faith, a chan hyny y mae yn bryd iddi fyw yn *retired* yn neillduedd anrhydeddus englyn.

Dymunem, fodd bynag, gymedroli ein sylwadau, gan nad ydym ar gyfrif yn bwriadu cyhoeddi un anathema gondemniol ar y mesurau caethion. Yn nwylaw celfyddwyr beth sydd esmwythach a naturiolach? 'Nofiant hwy fel madarch tra y sodda eraill fel plwm. Ond paham na ddadgleddir rhai o'r "hen gyrff," chwedl Goronwy? Yr ydym yn dlawd o eiriau unsillafog cyfunsain yn y Gymraeg; a pha fesur ynte a wasanaethai ein dyben yn well na mesur y penill a dadogir ar Daliesin!—

"Eu Nêr a folant,
Eu hiaith a gadwant,
Eu tir a gollant,
Ond gwyllt Wallia."

Pa le atolwg, y mae mesurau ein cynfeirdd a'n gogynfeirdd—mesurau cyntafanedig barddoniaeth Gwalia? Oni ellid dilychwino a gwisgo ymaith rwd oesoedd oddiarnynt, a'u cyfaddasu mewn diwyg newydd at angenrheidiau barddas bresenol? Ac yn wir, yn mha le y cawn fwy o brydferthwch hyawdl symledd nag yn yr hen fesur briglwyd—englyn milwr? Cymerer er enghraifft alargwyn Llywarch Hen wrth yr olaf o'i feibion?—

"Cynddelw, cadw dithau'r rhiw,
Er a ddêl yma heddyw:—
Cudeb am un mab nid gwiw."

Ond, gan nad pa beth a fernir am y priodoldeb o adgyfodi hen fesurau, y mae ein bardd yn un o'i lythyrau yn cwyno oherwydd cyfyngder mesurau ("shortness of measures,") yr hyn a'i digalonodd i ymgymeryd â chân arwrol: ac oni buasai hyn dywed fod yn ei fryd gyfansoddi un, gyfartal o leiaf o ran teilyngdod i Gywydd y Farn.

Fod gan Oronwy lygad i weled anian ni all neb cyfarwydd a

chynyrchion ei ysgrifell ei wadu: ac ond odid nad i hyny yr ydys i briodoli ei ymlyniad ffyddlon wrth Fôn, am yr hon, yn enwedig yn ei ddyddiau boreuaf, cyn llethu bywiogrwydd ieuengaidd ei deimladau gan ofalon byd, y clywir ef yn trydar ym barhaus. Er yn fachgen yr oedd yn sylwedydd craff ar wahanol ysgogiadau natur, fel y prawf ei sylw ffraeth wrth ei fam, y buasai yn arddangos ei ddiolchgarwch i hen wraig garedig Pentre Eirianell am y frechdan fêl drwy ysgwyd ei gynffon pe *buasai gi*. Gwyddai y bachgen Goronwy fod y gynffon a'i hysgogiad yn fynegai gonest, ac yn adlewyrchiad cywir o deimlad y ci wrth dderbyn ei borthiant, ac yn wir y mae llawer awdl o lawn dwf, yn fesur a chynghanedd, yr hon, pe cyd-dwysgid ei holl sylwedd i un frawddeg, a gynwysai lai o'r wir nwyd awenyddol hono ag sy'n cyffwrdd â thannau natur na'r sylw bachgenaidd hwnw am y frechdan fêl. Ni buasai raid i'r bardd ieuanc ond cyfnewid ei wrthddrych na buasai yr un craffineb ag a ddaliasai ar naturiaeth y ci yn rhithlunio y delweddau mwyaf godidog ac yn gwisgo y meddylddrych â'r arddunedd coethwychaf. Y mae yn amlwg fod gwreiddiau ei athrylith yn ymledu, a'i awen doreithiog yn bwrw ei blagur y pryd hwn, hyd yn oed pan nad oedd ei flysigrwydd a'i archwaeth blentynaidd at y mêl heb bylu—"Wielding a giant's soul in pygmy breast."

Yr oedd y plentyn yma yn DAD I'R DYN. Yr un llygad ag oedd yn awr yn nyddiau mebyd yn gallu olrhain cuddlinellau anian yn nghynffonloniad y ci, a gawn wedi hyny yn benthyca ardebau yr un mor naturiol mewn cylchoedd mwy dyrchafedig. Dygwyd y cyhuddiad yn erbyn Shakspeare, os cyhuddiad yw, o fod yn ddarn o natur—yn blentyn anfedyddiedig anian: cyfaddefwn yn rhwydd y buasai dda genym pe buasai yn fwy o brophwyd, yn fwy wynebagored o barth ei olygiadau crefyddol, ac wedi tynu mwy o'r Ysgrythyr, ac felly yn esgyn "heibio i natur at ei Duw," eto y llygad i weled, a'r glewder i gydfyned ag anian a'i gwnaeth yn Saul beirdd Brydain, ie y byd, yn uwch o'i ysgwyddau na hwynt oll.

Iawn y gallwn alw sylw Goronwy bach ar y ci y cyntedd i mewn i'r arlunfa farddonol, yn yr hon y gwelai, nid y bugeilgi mwyach, oud efallai gyda Job, y cadfarch eofnfryd yn carlamu, yn ffroenio rhyfel oddidraw, yn cloddio y dyffryn, ac yn llyncu y ddaear

gan greulondeb a chynddaredd. Oddiwrth y bugeilgi gallwn ddysgwyl i'r fath blentyn ymgodi at y llew, archdeyrn cydnabyddedig y goedwig, a chanfod â llygad bardd ei gynffon ynteu yn ymdorchi, ei lygaid yn fflamychu fel pelenau byw o dân, ei fwng gwasgarog ar chwŷf yn yr awel, y goedwig yn ymsiglo hyd ei gwasarn gan ei ruad awdurdodol, ac ynteu dan rygyngu â'i holl gymhen amherodrol o'r diwedd ag un naid hydwyth yn disgyrn ar ei ysglyfaeth, nes y clywn yn y fan ei esgyrn yn clecian rhwng ei ysgythrddaint engyrth! Fel hyn, y cadfarch, y llew a'r ci, iaith natur y maent yn ei llefaru: er yn wahanol o ran gradd, y maent yn un o ran ansawdd, yn siarad iaith natur, a'r lladmerydd goreu o'r gyfriniaeth hon yn ddiddadl yw y bardd goreu.

Ymegyr gwaith prydyddol ein hawdwr gyda Chywydd i'r Awen mewn ffordd o efelychiad o un o Odlau y bardd Rhufeinig Horas, yr hwn a gydnabyddid yn dywysog prydyddiaeth delynol y Lladiniaid. Ymddengys fod Goronwy Ddu yn llawn mor gyfarwydd yn Horas, neu yn fwy felly, nag yn un o'r beirdd clasurol. Yn awr wrth roi ein traed ar drothwy ei waith barddonol, nid anfuddiol i ni yma gymeryd golwg ar ein bardd yn ei berthynas â chyfeithion neu efelychiadau. Yr ydym yn cael y bardd Lladinaidd yn yr awdl a nodwyd[1] yn cyfarch Melpomene, un o'r naw awenau; a sylwedd y ganig sydd i'r perwyl a ganlyn—Na bydd yr hwn y gweno yr awen ar ei enedigaeth ond odid yn enwog fel ymgodymwr yn y campau Groegaidd—na byddai y march chwim yn ei lusgo yn ei gerbyd buddugol—ac nad arddangosid ef, dan goronbleth o lawryf, fel arwr yn nheml Iau, ar gyfrif ei orchestion milwrol, ond y y dethlid ei glod ar gyfrif ei gân.

"Ni bydd gawr na gŵr mawrnerth,
Prydu a wna—pa raid nerth?
* * *
O bâi'n agwrdd benigamp,
Ni chais glod gorfod y gamp;
Ni chyrch drin na byddinoedd,
Ni char nâd blaen-gad a bloedd,
Ni chaiff elw o ryfelwaith,
Na chlod wych hynod ychwaith;

[1] Lib. IV. Ode III.

Na *choron* hardd, ddigardd ddyn,
Draw i gil o droi gelyn,
*Mawl a gaiff am oleu gerdd.*"

Neu yngeiriau Horas ei hun—

"Spissæ memorum comæ
Fingent Æolio carmine nobilem."

Drwy y llinellau hyn gwel y darllenydd unrhywiaeth y meddwl, ond yn unig fod y bardd Cymreig yn dihatru ei linellau o gyfeiriadau lleol a neillduol, ac yn gwneud cymhwysiad cyffredinol o hono at y BARDD o ba dras a gwlad bynag. Eto prin y gellir dyweyd fod Goronwy Ddu ar hyn o bryd mor ffodus, neu yn hytrach mor ffraeth yn ei folawd i'w awen—

"O f' awen dêg! fwyned wyt!
Di-odid, dawn Duw ydwyt:
Tydi roist â diwair wên,
*Lais eos i lysowen!*"

Medd Horas ar y llaw arall—

"O testudinis aureæ
Dulcem quæ strepitum, Pieri, temperas,
O mutis quoque piscibus
Donatura cycni, si libeat, sonum."

Yn Gymraeg fel hyn yn llythyrenol—

"O! Awen, yr hon a reoli sain ber y gragen euredig; O! dydi! yr hon, os rhynga bodd it,' a gynysgaeddi y pysg mudion â thôn yr alarch."

Cymaint oedd yn ngallu Goronwy ei ddyweyd am ei Awen oedd ei bod yn rhoi

"Llais eos i'r llysowen,"

ond yr oedd un math ar offer cerdd dannau yn nyddiau Horas yn cael ei wneud i fyny o gragen y crwban (TESTUDO, *tortoise*), o ba herwydd y gelwir *testudo* yn offeryn cerdd: ac felly yr oedd awen Horas yn wirioneddol, ac nid yn ffugurol yn unig, yn rhoi i'r "pysgod mudion" "dôn yr alarch," yr hwn y dywedir am dano ei fod—

——"ar ddwr croyw
Yn canu ei farwnad cyn ei farw."

Cyfiawnder â bardd Mon yw sylwi nad myfiaeth a hunanoldeb a bâr iddo wenieithio i'w awen—

"Dedwydd, o'th blegid, ydwyf,
Godidog ac enwog wyf:
Cair yn son am Oronwy,
Llonfardd Mon, llawn fyrdd a mwy—
Caf arwydd lle cyfeiriwyf,
Dengys llu a bŷs lle bwyf;"

ond dynwarediad ydyw o'r bardd Lladinaidd, yr hwn ni phetrusa ddyweyd yn ddifloesgni—

"Quod monstror digito prætereuntium."

Ac er fod y bardd Cymreig dan anfantais i gyfleu y ffraetheb o fod yr Awen yn rhoi "llais eos" i'r "pysg mudion" yn ei llawn rym, eto y mae yn cilio oddiar y chwareufwrdd yn y ganig hon law yn llaw â'i awen hoff gan ei hanwesu â'r anwyldeb gwresocaf—

"Heb awen, baich yw bywyd,
A'i rhodd yw rhyngu bodd byd;"

o'r hyn nid yw geiriau ei gynddelwedydd Horas ond adlais gwan:

"Quod spiro et placeo (si placeo) tuum est."

Yn ei gywydd annerchiadol i'w gyfaill a'i noddwr Lewis Morris, Yswain, cawn ei fod yn cymeryd yr wythfed awdl o'r IV llyfr o Horas yn sylfaen, ac yn cyfarch ei noddwr gyda'r un brwdfrydedd caruaidd ag y mae y bardd Lladinaidd yn cyfarch Marcius Censorinus. Yma gallwn sylwi fod anystwythder i ryw raddau bron bob amser yn dynodi cyfieithiadau; ac os felly mewn rhyddiaith, llawer mwy, dybiasid, mewn barddoniaeth gaeth; ond rhyfeddai y neb a gymerai y drafferth o gymharu y cywydd hwn, yn enwedig y rhan ddechreuol o hono â'r gwreiddiol, mor rwydd a diymdrech y mae yn rhedeg yn ochr yn ochr â'r bardd Lladinaidd.

Wedi ychydig o ragaraith wylaidd ac anymhongar, y mae y bardd yn ymgodi at yr aruchel, gan herio y lluniedydd a'r maengerfiwr i dynu portread o arwr, yr hyn y mae yr awen yn ei wneud yn y geiriau trydanol a ganlyn—

"Pwy ag arfau?—pa gerfiad
A rydd wg golwg ei gad?
Trefi yn troi i ufel
O'i froch, a llwyr och lle'r el!"

Ni raid i ni ond codi y lleni a bwrw golwg ar y gwreiddiol, na welwn mai difrodiadau Hannibal a Scipio oedd yn ymrithio o flaen llygaid ein bardd; ac yn wir nid rhyfedd i'r fath wroniaid dewr-

ion ysbrydoli yr awen Gymreig a'r fath syniadau godidog. Yr oedd ein bardd eisoes wedi pwyntio allan ei arwr—

> "Llunio'i guch a llain gochwaed,
> A chawr tan ei dreisfawr draed:"

ac mor dafodlyfn yw yn ceisio dangos nad oes dim a geidw goffadwriaeth am ddyn wedi angeu yn well na gwaith bardd, ac na ddychon na cherfiwr na phaentiwr roi cystled portread o wr ag a rydd prydydd awenyddol, nes ein proselytio i'r gred nad yw awen y bardd yn ol i gŷn y cerfiwr na phwyntyl y lluniedydd.

O'r Cywydd hwn canfyddwn fod dwy linell wedi eu mabwysiadu fel arwyddair i weithiau argraffedig yr awdwr—

> "Cerdd ddifai i rai a roes
> Ennill tragywydd einioes:"

ond yn y dyddiau hyn, pan y gallai yr ymadrodd "tragywydd einioes" sawrio o iaith ystrydebedig y pwlpud Cymreig, nid afreidiol i ni yma rybuddio y darllenydd nad yw yr awdwr yn golygu dim mwy nag anfarwoldeb mewn ffordd o enwogrwydd, fel yr eiddo Nudd, Mordaf ac Ifor—

> "Dignum laude virum Musa vetat mori."

Ofni yr ydym y gallai fod y pris a roid gynt ar farddoniaeth wedi disgyn, ac na bydd awdl neu gywydd nac englyn yn saig mor ddanteithiol ag oedd yn y dyddiau y byddai Goronwy yn trawsgrifio cynnyrchion ei awen i'w gyfeillion, ac yn eu ffrancio drwy y llythyrfa: ac felly prin y credwn, yn yr oes haiarnaidd ac ariangarol hon, nad yw yn mawrygu gormod ar ddylanwad a rhinweddau awen y bardd, pan y dywed—

> "A ddel o'i awen ddilyth
> O gyfarch, a *bair barch byth.*"

Oddiwrth "Galendr y Carwr," neu "Gywydd Serch," can gystled ag oddiwrth ei awdl Ladin ar yr un testyn, rhydd y bardd ar ddeall i ni i'w galon gael ei gwanu gan saethau Cupid; ond y mae y Cywydd hwn yn gynnwysedig yn benaf o adroddiad o drwstaneiddiwch ei hynt garwriaethol. Y gwir yw, nad ydyw testyn y Cywydd, er llithriced ei gynghaneddiad, yn deilwng o grebwyll y bardd; eto y mae yn hollol rydd oddiwrth y serthedd a'r nwyfusrwydd hwnw ag sydd ysywaeth i fesur rhy helaeth yn dynodi Cywyddau Serch y Petrarch Cymreig, Ap Gwilym. Ymddengys fod Morfydd Bardd Du Môn fel yr eiddo Bardd Morganwg

yn llawn chwidredd ac anwadalwch; ac eto cawn fod llygaid hudolus y furseu fel llosgwydrau o iâ yn ennyn calon y bardd ieuanc yn fflam, nes y cawn ef yn erchi yn y dôn fwyaf cwynfanus—

"Mwynach a fy'ch fy meinwen—
* * *
Neu fid it' o lendid lai;
Adwyth fod it', ddyn wiwdeg,
Ogwydd i dwyll â gwedd deg."

Ni allwn bassio heibio ei "Gywydd ateb i Huw ap Huw'r bardd o Lwydiarth Esgob" yn ddisylw. Wedi cyfeirio at ei "ddwy alwad," y farddol a'r offeiriadol, y mae yn datgan ei ymdeimlad o'i "barchus arswydus swydd" gysegredig fel yn gorbwyso yr hyn a eilw yn "ddiles gywyddoliaeth."

"Os mawredd yw coledd cail,
Bagad gofalon bugail;
Atteb a fydd, rhyw ddydd rhaid,
I'r Ion am lawer enaid."

Yna try yn ddiswta tua'r tynfaen naturiol, Môn, yr hon oedd fel llances goegwyl yn cilio rhag cofleidiadau ei charwr; ond gydag ymostyngiad i ordeiniadau yr Hwn sy'n "penu terfynau preswylfod" dyn, dywed,

"Achos nid oes i ochi,
Wlad hael, o 'madael â mi:
Cerais fy ngwlad, geinwlad gu,
Cerais, ond ofer caru;
Dilys, Duw yw'n Didolydd,
Mawl iddo, a fynno fydd;
Dyweded Ef na'm didel,
Gair o Nef a'm gyrr yn ol."

Gyda gorhoffder a phleidgarwch un ag y gallem dybio fod ei gorff wedi ei lunio o bridd Môn, a'i "anadl einioes" wedi ei sugno o'i hawyr, y mae yn rhedeg dros ei rhestr hirfaith o feibion Awen o Gaswallon Law-hir hyd Feilir Mon, ac i lawr hyd ddydd Llewelyn a Goronwy Ddu—

"Mae Alaw? mae Caw? mae cant?
Mae miloedd mwy eu moliant?

Pwy a rif dywod Llifon?
Pwy rydd i lawr wyr mawr Mon?"

Nid yw y bardd ychwaith yn colli golwg ar elfenau mwy anianol nag ysbrydiaeth awenyddol Môn—

"Bara a chaws, bir a chig,
Pysg, adar, pob pasgedig:
Dy feichiog ddeiliog ddolydd
Ffrwythlon, megis Saron sydd,
A phrenau dy ddyffrynoedd,
Crwm lwyth, megis Carmel oedd:
* * *
A thudwedd bendith ydwyt,
Mawl dy Ner, aml ei dawn wyt."

Ni raid i'r llinellau uchod wrth ganmoliaeth mwy na thegwch wrth addurn; a'r unig ddiheurad a gynygiwn i'r darllenydd, os cais ddiheurad oddiar ein dwylaw, dros ychwanegu at y dyfyniad uchod o'r un Cywydd gyfarchiad ymadawol Goronwy Ddu i'w anwylaf Fon, yw ein hanallu i ymattal—y cyfryw yw ei swyn, ei nerth, a'i doddedigrwydd.

"Poed im' hedd pan orwed dwyf
Ym mron llawr estron lle'r wyf.
Gwae fi na chawn enwi nod,
Ardd wen, i orwedd ynod;
Pan ganer trwmp Ion gwiwnef,
Pan gasgler holl nifer Nef,
Pan fo Mon a'i thirionwch,
O wres fflam yn eirias fflwch,
A'i thorrog wythi arian,
A'i phlwm a'i dur yn fflam dân!
Pa lês cael lloches o'r llaid?
Duw ranno dŷ i'r enaid,
Gwiw gannaid, dŷ gogoniant
Ynghaer y ser, ynghor sant:
Ac yno 'n llafar ganu,
Eirian eu cerdd i'r Ion cu,
Poed Gwyr Mon, a Goronwy,
Heb allael ymadael mwy:

Cyduned a llefed llu,
Monwysion, Amen, IESU.

Ymhlith holl geinion y bardd nid oes yn ddiameu fwy o NATUR *farddoneiddiedig* nag yn y llinellau uchod. Y mae "tannau euraidd tynerwch" i gyd dan fysedd ysbrydoledig yr awen: ac ni allwn ollwng y llinellau hyn o'n gafael heb sylwi ar y tebygoldeb neu o leiaf y cydrywiaeth tarawiadol rhwng gweddi ymadawol y Bardd Du a dysgrifiad Cawrdaf yn ei "Hiraeth y Cymro" o'r bardd yn nhir estron yn chwennych—

"Arwyddo'r lle gorweddwn
Yn y llawr â'r pennill hwn—

"Awenawg ŵr o Wynedd—a yrwyd
O hiraeth i'r llygredd,
Ar arall dir i orwedd,
Dyma fan fechan ei fedd."

Cymerem yn ganiataol ar yr olwg gyntaf fod Goronwy Ddu pan yn cyfansoddi ei annerchiad i Fon yn ei drigfa newydd tu hwnt i'r Werydd, ac mai dyna a olygid wrth "fron llawr estron lle'r wyf," eithr yn ol dyddiad y Cywydd (1756) yr oedd y bardd ar y pryd yn cyfaneddu yn Northolt, lle ni fynai ein Cymro gwiwglod ymgyfeillach "â phlant Alis."

Ai tybed fod croendeneuder (nid i ddyweyd hunandybiaeth) yn un o weddnodau anysgarol y beirdd ymhob gwlad ac ymhob canrif, o ddyddiau Chaucer at Byron a'r Scotch Reviewers, ac o ddyddiau Ap Gwilym a Rhys Meigen hyd ddyddiau Ieuan Brydydd Hir o Ddeheuparth ac offeiriad Caron? Bu yr offeiriad mor anwyliadwrus â dyweyd am farwnad Tywysog Cymru gan Ieuan nad oedd ynddi nac iaith na chynghanedd, a'r canlyniad a fu i'w gyfaill Goronwy o Fon ymarfogi fel Hercules i lethu yr Hydra collibus o Dregaron. Nid aeth yr olaf, fodd bynag, mor bell ag i ddyweyd nad oedd ynddo synwyr, a gallasai Ieuan gan hyny wedi'r cwbl wneud yr hyn y cynghorid Wycherley i'w wneud gan Pope, "Convert it into prose." Bu hyn fel y gwelwn yn achlysur i Goronwy gyfansoddi Cywydd o gydymdeimlad a'i gydfardd calonglwyfus; ac o'r Cywydd hwn y mae amryw linellau wedi

gweithio eu ffordd i fod yn arwyddeiriau cyffredin yr urdd farddonol—er enghraifft—

"Cwynfan a fu o'r cynfyd
Gan y beirdd ar goegni byd;
Tra fo llên ac awenydd,
A chân fwyn, achwyn a fydd;
* * *
Pawb a'i cenfydd, o bydd bai,
A bawddyn, er na byddai;
A diau, boed gau, bid gwir,
Buan ar fardd y beiir."

Druan o honynt, ynte, orfod byw yn y byd drwg erledigaethus hwn! Y gwir yw, felly yr oedd haner can mlynedd cyn dydd Goronwy yn amser Rymer, yr hwn a fynai nad oedd Othello ond "bloody farce," heb na blas na halen arni. Difrïai Voltaire Hamlet fel dernyn a fuasai yn annyoddefol o farbaraidd hyd yn oed yn mhlith gwerinos anwybodusaf Ffrainc a'r Ital, ie fel cynnyrch ymenydd anwariad penfeddw. Mynai Steevens, golygydd argraffiad o Shakspeare, na buasai gweithred seneddol yn ddigon grymus i orfodi dyn o chwaeth i ddarllen rhai o fân ganigion y bardd. Dyledswydd yn hytrach na phleser y dynodi Johnson y darlleniad o Goll Gwynfa; ac yn wir ni a anturiwn ddweyd am un a aeth drwy y gerdd hono yn gryno fod cant wedi ei dechreu ac wedi ei bwrw o'r neilldu ar drothwy y golygfeydd a gynwysa. Y cyfryw hefyd oedd llymder beirniadaeth ar flaendwf awen Byron, fel y cafodd waith perswadio ei gydwladwyr yn ei lythyrau oddiar y cyfandir nad wedi dianc i hunanalltudiaeth yr oedd oblegid hyny: ac am yr *Excursion*—yr hon drwy gydsyniad gwlad a saif ymlaenaf o bryddestau y breninfardd Wordsworth—y meddai Arglwydd Jeffrey yr eofndra i ddweyd, "*It will never do.*" Beth a ddywedwn? Ai rhyw ddynsodach dichwaeth yn eu hamryfusedd a'u rhyfyg, yn rhoi barn gablaidd oedd Rymer, Voltaire, Steevens, Johnson a Jeffrey;? Nac ê, yn ddiau: ond y cyfryw yw amrywiaeth, neu yn hytrach wrthdarawiad chwaeth y beirniaid eu hunain yn y dalaeth farddonol, a'r cyfryw hefyd yw y gwahaniaeth yn ffurfiad y meddwl dynol, fel yn fynych yn y gangen hon o lenyddiaeth y mae y beirniaid yn methu yn lân a chytuno ar

liw llygad eu cameleon. A phwy yn Nghymru a fu yn nod i ergydion trymach na'r bardd, o ddyddiau Ap Gwilym—

"A'i gerdd gref agwrdd ei grym,"

ac offeiriad Caron hyd heddyw; ac yn ddiau—

"Tra bo llen ac awenydd,
A chân fwyn achwyn a fydd."

Ni fynai Goronwy i Ieuan er hyny beidio

"A dilyn fyth hyd elawr,
O hyd y gelfyddyd fawr;"

canys anfri medd ein bardd oedd tynged cewri awenyddol y cynfyd, nid amgen Homer, Virgil, a Horas.

"Wrth Homer wiw gerddber gynt
Gwyddost mor eiddig oeddynt.
* * *
Maro a orug mowrwaith,
Bas y gwyl Bawas y gwaith;
Ni pharchwyd gradd o naddun,
Mawr oedd cas Horas ei hun."

Er gwaethaf dant cynfigenllyd yr Homeromastix a Bavius, cadd bardd Groeg a bardd yr Ital eu lefel briodol: ac felly am y Prydydd Hir, a Goronwy Ddu—yn ol prophwydoliaeth yr olaf—y mae yr oes i iawn brisio eu talentau wedi gwawrio:

'Cawn yn hwyr gan eu hwyrion,
Na roes y ddyhiroes hon."

Y mae cyflawnder y Gymraeg o gydseiniaid yn ei gwneud yn neillduol yn iaith gynghaneddol; ond nid i gynorthwyo y cof, fel y bu rhai yn tybio, mewn oes farbaraidd y tueddwyd y cynfeirdd i fabwysiadu y ffurf fesurol na chynghaneddol: oblegid pe felly ni buasai mesur a chynghanedd ond ail i ryw datlen rifyddol i alw i gof ddyddiau y misoedd. Mae y gwir fodd bynag yn gorwedd yn is na hyn, ac nid oes yr amheuaeth lleiaf nad *dylanwad sain ar y galon pan dan lywodraeth egwyddorion cyseiniaeth a genedlodd fesur a chynghanedd.*

Er ein bod yn ystyried mydr yn hanfodol i wir farddoniaeth, eto nid yw ond y ffurf allanol; y wisg ac nid y corff na'r enaid: a dyna yn ddiddadl yr olwg a gymerai Goronwy ar y GELFYDDYD FAWR, gyda hyn fodd bynag o wahaniaeth, sef ei fod yn ystyried mesur a chynghanedd yn anhebgorol i farddoniaeth. Diffyg

cynghanedd, yn ei dyb ef, oedd yn dihawlio Paradise Lost o'r enw barddoniaeth—" *Call it anything*, but not *poetry*," neu ynte mynai alw y Bardd Cwsg yn brydyddiaeth.

Er fod gan Goronwy gryn gydymdeimlad ag addolwyr y gynghanedd, eto nid yw un amser yn aberthu synwyr er ei mwyn; yn hytrach gwell oedd ganddo gadw y synwyr yn ei berffeithrwydd ar draul *esmwythder*, eto nid cywirdeb y gynghanedd. Y mae hyn yn fwy nag a allir ei ddyweyd hyd yn oed am awdwr—

"Pob paladr yn fiadr a ffwch,"

er glywed cynghaneddwr oedd y Gwyn o Eifion. Gwyddai Goronwy yn eithaf da nad y fantell sy'n gwneud y milwr, nad y wen wisg sy'n gwneud yr offeiriad, na'r mydriad cynghaneddol y bardd ychwaith.

"Nid yw pob peth a blethir,
O'r un waed â'r awen wir."

Gormod o rigymau o bryd i bryd wedi dyddiau ein bardd ar ddelw awdlau a chywyddau ac englynion sy wedi ymddangos ar wyn a du heb hawl i'r "enw anrhydeddus" a wisgant, ac heb fwy o fywyd awenyddol ynddynt nag sydd yn y carpiau aflerw a ymhongiant am y bwgan brain, at y rhai y gellir gyda phriodoldeb gymhwyso yr hen ddiareb—"Y dillad ydyw'r dyn, a'r dyn ydyw'r truan." "Y gynghanedd yw y farddoniaeth, a'r farddoniaeth y druanes!" Un Goronwy a wnai iawn am leng o bastynfeirdd, ac a adbrynai yr awen Gymreig o gaethiwed llygredigaeth. Y mae cyfnod wedi bod fodd bynag ar awenyddiaeth Cymru pryd mai dyma oeddynt nwyddau mwyaf gwerthadwy y farchnad farddonol; ond ieuo y gloyn byw a'r golomen, neu yr ystlym aflan a'r eryr breninol a fyddai cysylltu enw Goronwy â'r rhigymwyr hyn, o herwydd cymaint ag sy'n gyffredin rhyngynt yw y wisg allanol—y gynghanedd. Na—ni bu neb mwy anghytras â'r llwyth hwn nag efe. Pwy a'u ffrewyllai yn fwy tost a diarbed nag efe? Neb, fel y dengys yr ymrafael a fu rhyngo ag Elisa Gowper o Lanrwst, pryd y canodd Elisa i Oronwy yr englynion o dduchan celwyddog, sef fod ei daid wedi ei grogi—

"Wrth did arw dy daid euroch,
Ynghrog wrth bren, crogbren croch."

Yn ateb i'r hyn y canodd Goronwy yr "englynion dan d—n" megis y geilw hwynt, dan yr enw "Huw Huws, y Bardd Coch;"

ac yn un o'i lythyrau haera fod Elisa ffraethbert a thafod-ddrwg "wedi ei fagu ar laeth gast." Eto cydnebydd Goronwy ei anfedrusrwydd yn y gangen dduchanol—"I have not a turn of genius fit for ludicrous poetry (which I believe is best relished in Wales), and you will see that the few little witticisms in Cywydd y Farf are rather forced than natural." Nid oedd gogwydd ei chwaeth at dduchangerdd ychwaith. "Dafydd ap Gwilym," medd efe, "was perhaps the best Welshman that ever lived for that kind of poetry, and is therefore very deservedly admired for it; and altho' I admire (and even dote upon) the sweetness of his poetry, I have often wished he had raised his thoughts to something more grave and sublime."

Eto pa genedl heb ei sorod? Ni fynem fod mor anwladgarol am fynyd â choleddu y dyb o fod Cymru gynt, na Chymru yn awr, islaw cenedloedd eraill ar y golygiad hwn—na, y mae yr un golygfeydd mawryddig ac aruthrol ag a ysbrydolodd awen Burns a Wordsworth yn dwyn yr un dylanwad yn Ngwyllt Walia—yn cenedlu meddylfryd a syniadaeth farddonol. Er mai oes farsiandïol ar y cyfan yw ein hoes ni—oes y "cui bono?" eto y mae chwaeth farddol y genedl yn myned rhagddi mewn coethder gyda chynnydd gwybodaeth: ac mai yr hyn oedd cyflwr barddonol y Cymry gynt oedd yr eiddo eu cydoeswyr, y Saeson, tystied un o'u poetau hwy eu hunain—Ben Jonson—yn ei gyfarchiad i'r dduwies awenyddol—

"Nor is it any blemish to her fame
That such lean ignorant and blasted wits,
Such brainless gulls should utter their stolen wares
With such applauses in our vulgar ears,
Or that their slubber'd lines have current pass
From the fat judgment of the multitude;
But that this barren and infected age
Should set no difference 'twixt these empty spirits
And a true poet, than which reverend name
Nothing can more adorn humanity."

Yn mhen blwyddi meithion wedi oes Ben Jonson y dywedai un arall am gyfansoddiadau ei gydoeswyr yntau—

"If they rhymed and rattled all was well."

Gellir dyweyd am yr awen Gymreig, yn fwy ysgatfydd nag am awenyddiaeth cenedloedd eraill, ei bod at ei gilydd wedi cadw

ei hun yn ddilychwin, a'i hadenydd arianaidd mor lân ag asgell y golomen. Fod eithriadau'ni wadwn; ond y maent mor anaml â lloffion grawnwin. Os edrychwn i *archives* doethineb cenedl y Cymry—(a pha brawfreol well o'i harchwaeth foesol a llenyddol?)—oni chawn ffrwyth awen haner ysbrydoledig yr "hen Ficer"—yr enghraifft berffeithiaf o'r hyn a eilw y Sais yn *didactic poetry* ymysg y Cymry—yr hwn a fu yn foddion i gerfio gwersi can ddyfned o foesddysg, ac a gyfranodd gymaint at ddysgybliad y meddwl Cymreig ag un llyfr tu yma i ysbrydoliaeth? Y mae yr "hen Ficer, yn enwedig mewn rhai ardaloedd, wedi tyfu gyda thwf y trigolion, fel nad oes na genedigaeth, na bedydd na phriodas, nac angladd, nac un amgylchiad o lawenydd na galar yn dygwydd na bydd rhyw adran o'r hen ddeddlyfr teuluaidd yn taraw arno ag awdurdod anamheuol. Nid heb achos y mabwysiadwyd gan ein hen brydyddion yr enwad o "*Ganiadau duwiol, moesol,* sylweddol," &c., yr hyn a welir yn fynych ar y wynebddalen. Er y gallant fod weithiau yn ddiffygiol mewn coethedd a darfelydd ac yn amddifad o waed byw yr awen, eto y maent yr hyn a broffesant fod—o duedd i ddifrifoli y meddwl ac i ddyrchafu moesau eu cydwladwyr; tra y mae rhai o honynt yn dwyn delw athrylith o'r radd uchaf. O Edmwnd Prys hyd Bant-y-celyn, *laureate* Sion, ac eneinnieg yr awen yn y ganrif ddiweddaf, hyd Dafydd Ddu Eryri ac Edward Jones o Faes y-plwm, y mae ambell eryr wedi bod yn ehedeg yn awyrgylch yr awen Gymreig o flaen y rhai y rhaid i wybed aflan fel Anacreon, Hafiz, Shelly, Moore a Byron gymeryd eu hysgybo ymaith i domenau llygredigaeth, er y gallasai rhai o honynt o ran eu talentau fod yn heuliau tanllyd ymhlith eu cydfeirdd. Yr olaf er esampl—ni allwn lai na gresynu fod y fantell farddonol wedi disgyn ar ysgwyddau mor annheilwng, llygaid mor graff, fel yr eiddo y rhaciwr yn Nhaith y Pererin, wedi eu sefydlu yn anwyredwy ar y llaid, ac enaid mor seraphaidd wedi ei ieuo yn anghymharus â chig a gwaed mor anmhuredig. Yr ydym yn cyfaddef gyda gofid fod genym ambell Dwm y Nant, Glanygors, ac mewn cylch uwch Ap Gwilym, fel gwybed meirw yn ennaint yr apothecari, y cyntaf yn rhagori yng nghyflawnder diysbydd ei ddawn, yr ail yn ergydion llym ei ffraethineb, tra y mae awen yr olaf fel hudlath y dewin neu garreg y philosophydd ag un cyffyrddiad fel yn trawsnewid ei gwrthddrych

i delpyn o NATUR farddoneiddiedig; ac y mae y tri ysywaeth yn rhy fynych yn syrthio yn fyr o ofynion moesoldeb a gweddeidd-dra, ond ar yr un pryd, er eu clod y dylem ddyweyd, nad yw eu gweithiau, beth bynag am eu syniadau, wedi eu lefeinio ag egwyddorion anffyddol, yr hyn ni ellir ei ddyweyd am Don Juan a'r dosbarth diraddiedig o lenyddiaeth a gynnrychiolir ganddo. Os bu yr hen chwareuyddiaethwr—y Shakspeare Cymreig fel y bedyddiwyd ef gyda rhyw radd o briodoldeb—Twm o'r Nant—

"Yn hau â gwagedd
Dir Gwynedd draw i gyd,"

ac "yn chwydu ei ddrygchwant fel llyffant ar fol llyn," eto mor foddhaol yw ei acen edifeiriol a'i ysbryd o ddiolchgarwch—

"Dangosodd Duw drugaredd
Yn rhyfedd imi er hyn."

Ond am feirdd Cymru at eu gilydd, a Goronwy Ddu yn eu mysg, y maent wedi cadw y fantell yn ddihalog. Ni phlygasant y gliniau i faswedd: ac yn lle heigio y meddwl ag egwyddorion annuwiaeth, gellir cerfio ar eu beddfeini yng ngeiriau Cowper, y 'belated bard of the Bible,' ddarfod iddynt ysgrifenu

"No line which dying they would wish to blot."

Nid oes amheuaeth nad oedd gan Oronwy, fel y crybwyllwyd eisoes, yr hyn y tybir fod Milton yn ddiffygiol o hono, y dyspwylledd i iawn brisio ei alluoedd a'i gynnyrchion ei hun: ac fel esampl o hyn gallwn nodi ei fod mewn llythyr at un o'r Morusiaid yn honi fod prif gryfder ei athrylith yn gynnwysedig yn y dosparth cyfiachyddol o ieithyddiaeth.

Fod Goronwy Owen yn ysgolor o'r radd uchaf, ac wedi yfed yn ddwfn o ffynnonau clasuriaeth sydd tu hwnt i amheuaeth. Ni raid ond darllen ei dreigliadau cywreinddysg o'r gair *Celt*, can gystled â lluaws o eiriau amheus eraill, na welwn hyn. Y mae awdwr "Gomer" yn dwyn y cyhuddiad, yr hwn yn ddiddadl sydd yn rhy wir, yn erbyn y Dr. Dafis, o redeg i ormod rhysedd drwy Ebryweiddo y Gymraeg, tra mae "*ill-guided ingenuity*" y Dr. Puw yn ei dyb ef yw gor-gymreigio y Gymraeg, neu mewn geiriau eraill ymladd yn ormodol dros ei hunan-hanfodiad cynnwynol, a'i hannibyniaeth ar holl deuluoedd ieithyddol y byd. Er na ddylid rhyfygu parablu enwau y ddau ddoethawr, Dafis a Puw,

8

ond gyda pharch—heddwch i'w llwch!—canys iddynt hwy yn benaf yr ydys i briodoli adffurfiad rheolaidd, neu y nesaf peth i adgread y Gymraeg yn ei diwyg bresennol, a hyny allan o dryblith annelwig y cynoesoedd; eto y mae gonestrwydd yn galw am deyrnged oddiar ein dwylaw i farn beirniad mor drylen ag a ddyfynwyd uchod. Arwyddair a allai Bardd Môn hefyd ei fabwysiadu yw—

"Yr wyf finau'n rhy fynych
Yn rhoi 'nhroed yn yr un rhych,"

oherwydd nid oes dim amlycach na bod ynddo ogwyddiad naturiol at impio i raddau lled bell wreiddeiriau Cymreig ar gyff estronol, a hyny efallai cyn llwyr ddyhyspyddu ein hadnoddau cartrefol ein hunain.

Ni a anturiwn gredu y gallai fod rhyw *media via* rhwng y ddau eithafnod hyn, nad ydyw yn cael ei thramwyo mor fynych ag y dymunid. Ni byddai genym un gwrthwynebiad i eirdarddwyr groesi y trothwy i dai cymydogion a myned at bell ac agos i fenthyca, ond nid cyn troi a throsi pob congl a chwilio dodrefn eu tŷ eu hunain; ac os ceir y defnyddiau gartref, pa raid wrth nwyddau tramor? Ofer lluosogi enghreifftiau i egluro yr hyn a feddyliwn. Cymerwn y gair GWRAIG. Dyry Puw i ni *gwr-aig*, canol, asen y gwr. Dyna i Trench ychwanegiad Cymreig at ei *Morality of Words*, duwinyddiaeth ymhriod a geiryddiaeth. A pha raid gwell deongliad? Ei unig fai, os bai hefyd, yw ei symledd. Gwyddem ar y llaw arall y gellid cael yr un gair yn yr unrhyw ystyr ac i'r unrhyw ffurf drwy gyfnewidiad rheolaidd *y v* i *gw* o *virago* yn y Lladin; ond wedi hyny gadawem y gair cyfathrachol GWREGYS, (*that which surrounds the waist*,) i ymdaro drosto ei hun. Ond paham y benthycwn yr hyn sydd genym eisoes, yn enwedig gan fod rhai amgylchiadau pan y mae angen yn gwneuthur benthyca yn anocheladwy. Y mae hyn yn dwyn i'n cof y chwedl drwsgl a edrydd y Bardd Du am dano ei hun yn gofyn benthyg chweugain gan Ysgweier Boycott yn unig er profi ei haelioni (?) *Credat Judæus.*

Er nad ydys yn rhwym o dyngu wrth bob gair a ddyfyd ar eirdarddiaeth, nac un gangen arall o lythyreg, ynghylch y rhai nis gall y doethoriaid eu hunain gytuno, eto ei fod yn wir ysgolhaig, ac nid craobfeirniad hunandybus sy ffaith na faidd neb ei gwadu;

ac y mae yn golled anadferol i lenyddiaeth y Cymry na buasai mwy o'i ysgrifeniadau ef a'i gyfaill, y Prydydd Hir, can gystled ag ystorfa oludog *Celtic Remains* Lewis Morris wedi eu harbed rhag difancoll. Ei fod yn Gymreigydd cyfarwydd a hyddysg yn nheithi elfenol yr iaith, pa raid profion amgen na'i weithiau e hun? Y gwir yw, gallai Goronwy droi ei law at bob gwaith, o Awdl ddiniwaid ei Ofuned hyd uchder nenbwnc ei Gywydd ar y Farn Fawr, a rhagori yn y cwbl: a thrachefn, os oedd eisiau ymrithio i gorff Meilir Brydydd a dynwared ysgrifenyddiaeth y gogynfeirdd, yr oedd efe fel ysgrifenydd parod yn gallu dwyn allan bethau newydd a hen.

O barth iaith tybiwn nad ydym yn gofyn mwy ar ran Goronwy nag a ganiateir yn rhwydd, sef fod ei ysgrifeniadaeth yn ffurfio safon oreu a chwaethusaf y Gymraeg. Yn ei farddoniaeth cyfaddefwn nad ydyw mor ddealladwy i ddarllenydd cyffredin ag ydyw prydyddiaeth Lewis Morris a Huw Huws, neu yr eiddo ei gydoeswyr megis Pope, &c. ymhlith y Seison, a hyny a wyddai Goronwy gystled ag ungwr. A phaham y mae hyn yn bod? Oherwydd yn ddiddadl, fel y dywed ei hun, ei fod yn chwennych ac yn ymgyrhaedd at ddiwylliad yr iaith, yn ceisio gloywi ei defnyddiau, helaethu ei therfyngylch, a dwyn ei thrysorau geiryddol i lawn ymarferiad yn lle ein bod yn ymfoddloni ar ychydig froddegau undonol a chylchymadroddion tlodion, tra y mae corff yr iaith yn gorwedd yn farw yng ngholofnau ein geiriaduron. Ni fynai efe orphwys ar beth i wneyd y tro heb gael y PETH EI HUN—yr iawn air yn yr iawn le. A'r hyn ydyw Shakspeare a Miltwn i eirlyfryddiaeth Seisonig yw Goronwy i eirlyfryddiaeth ddiweddar Gymreig—eu sylfaen, eu safon, a'u profiedydd i raddau helaeth: a chan hyny y mae holl gylch ei eiriadaeth braidd yn cael ei egluro yn ein geiriaduron, fel y tybiasom na buasai sylwadau geiryddol ar ei waith ond llafur ofer ac afreidiol. Ni fedd Morris Cyffin yn ddiau ar ystwythder a lledneisrwydd llathrlyfn y Bardd Du; ac yn wir pa fodd y gallasai dan yr anfantais o gaethgyfieithiad? Ni feddai Charles Edwards ar y llaw arall ar nerth a dillynder ei arddull; tra y mae holl deithi ysgrifenyddiaeth o'r radd uchaf yn cydgyfarfod yn ein bardd, esmwythder, grym a chlasuredd, heb un amser redeg i rygoethedd a mursendod: ac os buddiol i'r bardd ieuanc ddarllen awdl-farwnad Lewis Morris er mwyn y *fold* fardd-

onol, byddai yr un mor fuddiol, os nad yn fwy felly, i'r Cymro ieuanc yfed yn ddwfn i'w ysgrifeniadau rhyddion i'r dyben o ymgydnabod ag arddull y Cicero Cymreig.

Ymddengys mai ychydig a ganodd Goronwy ar y mesurau rhyddion; ond yn Awdl ei Ofuned, yr hon a gyfansoddodd yn y flwyddyn 1752, cyn gwybod yn ol ei addefiad ei hun "pa beth oedd awdl," y mae ei awen chwareus yn carlamu yngaethiwed yr harneis mor rwydd fel y tybiem glywed tresi y gynghanedd yn cloncian ar ei hystlys. Ei ofuned oedd—

"Dychwel i'r wlad lle bu fy nhadau,
Bwrw enwog oes, heb ry nag eisiau,
Ym Mon araul, a man orau—yw hon,
Llawen ei dynion, a llawn doniau.

Rhent gymhedrol, Plwyf da 'i reolau,
Tŷ is goleufryn, twysg o lyfrau;
A gwartheg rês a buchesau—i'w trin
I'r hoyw *wraig Elin* rywiog olau.

Minnau a'm deulangc mwyn i'm dilyn,
Gwrandawn ar awdl, arabawdl Robyn,
Gan dant Goronwy gywreinwyn,—os daw
I warc dwylaw ar y delyn.

*Pab* a gâr *Rufain*, gywrain gaerau;
*Paris* i'r *Ffrancon*, dirion dyrau,
*Llundain* i *Sais*, lle nad oes eisiau—son
Am wychder dynion; *Môn i minau*."

Yr ydym yn ei gael yn treio ei law unwaith yn y mesurau rhyddion yn ei gyfieithiad o'r "Emyn ar Ddyledswydd a Doethineb Dyn," ar fesur psalmau yr Archddiacon Prys: ac yn wir wrth ddarllen y cyfieithiad esmwyth hwn ni allwn lai na gresynu nad i'w ran ef y syrthiodd y gorchwyl o gymreigio y "psalmau bendigaid." Os cymerwn yr ychydig benillion hyn fel esampl, gallwn gasglu y buasai Goronwy yn fwy diesgeulus na'r Arddiacon at ei gilydd, heblaw y buasai ei ymadroddion yn ddiddadl yn llai henafol, ac yn fwy cydnaws a thafodiaith yr oes hon. Yma goddefer i ni dreithu ein barn bwyllus nad ydym yn ystyried fod cyfieithiad mydryddol o'r Psalmau wedi bod mor ffodus gyda golwg ar ei

amseriad ag y bu y cyfieithiad Cymraeg o'r Ysgrythyrau Sanctaidd. Y gwir yw nad yw o bwys braidd yn mha gyfnod y cyfieither y Bibl, canys y mae yn ffurfio safon anghyfnewidiol bron o'r iaith; ac yn lle cael ei adael ar ol yr oes y mae y Bibl Cymraeg yn cadwyno yr iaith rhag gwibio ymhell o'i throgylch cysefin, tra na fedd y cyfieithiad mydryddol o'r Psalmau nac un llyfr daearol y fantais hono, ac o ganlyniad y mae geiriadaeth cyfieithiad Edmwnd Prys o'r Psalmau yn fwy agored i lwydo gan henafiaeth ac annefodedd.

Nad oes neb yn ddallach na'r neb ni fyno weled, na neb yn fwy llygadgraff na'r sawl a fyno weled, ydynt arwyddeiriau ag ydynt yn fwy gwir gyda golwg ar feirniaid nag un dosparth arall o bersonau; oherwydd maent bawb yn edrych drwy wydrau yr ysgol y perthynant iddi. Yr ydys yn rhy dueddol i weled pob peth neu ddim mewn barddoniaeth, yn ol fel y byddom dan ddylanwad rhagfarn ar y naill law, neu awdwr-addoliaeth ar y llaw arall. Y mae y cymeriad hwn yn ei holl fympwyon eithafol i'w weled yng nghân dduchan Dryden ar Dduc Buckingham, yr hwn oedd—

"So over violent or over civil
That every man with him was god or devil."

Cynneddf beirniadaeth gan hyny yw olrhain allan ragoriaethau ei gwrthddrych, can gystled a'r diffygion hyny a gyfaddefir eu bod yn anwahanadwy oddiwrth bob cyfansoddiad dynol: ac yn hyn prin y gallwn gymeryd y *farn gyffredin* yn warant i'n cyfarwyddo, o herwydd y mae hono yn bwhwman ac yn cyfnewid yn feunyddiol. Y mae y beirdd fel y cyrff wybrenol eu hunain yn dyfod i'r golwg, ac yn rhedeg eu gyrfa gydag ysplander gorlathr, ac wedy'n yn ymgolli ac yn diflannu yn llwyr, tra y mae amser yn pygu dysgleirdeb eraill. Bu amser na phasiai Coll Gwynfa am haner ei werth presenol yn y farchnad farddonol, pan na allasai Lord Chesterfield ei ddarllen heb gymeryd *snuff*. Ymdywynodd Pope ar y llaw arall fel seren ogleddol awenyddiaeth Seisonig ar unwaith, a mwynhaodd fwy o boblogrwydd yn ei oes ei hun nag a hawliai yn yr oes hon; ac am Byron anhapus, beiddiwn ddyweud yr un peth, nad ydyw wedi ychwanegu un cufudd at ei faintioli yngolwg ei ddarllenwyr mwyaf anmhleidgar yn y blynyddoedd diweddaf; y mae llawer fel hyn y gellir dyweyd am danynt, tra y mae eraill yn cynyddu rhaid iddynt hwythau leihau.

Nid yw hyny yn wir am Oronwy. Y mae yn wir mai bardd i gylch cyfyng oedd—canu yr oedd i feirdd ac nid i'r werin. Nid oedd ei dalent farddonol yn yr un farchnad â'r eiddo Lewis Morris ac eraill o'i gymdeithion—Beirdd Môn. Cenir cerddi Glan y gors a Thwm o'r Nant gan y gwageddus; a phyncir aml bill hanerysbrydoledig o eiddo yr Hen Ficer fel *household words* hyd yn oed gan neiniau anllythyrenog Cymru; ond am Gywydd y Farn, Galareb Llewelyn Ddu, Bonedd a Chynneddfau yr Awen, Cywydd y Maen Gwerthfawr, ac yn wir corff barddoniaeth Goronwy Ddu, y maent ysywaeth i'w cael yn hytrach fel cyfeirlyfr yn myfyrgell y bardd ei hun nag yn argraffedig ar dafleau cof y werin. Er fod eithriadau, eto dyma'r rheol.

Yn awr tybiwn fod hyn i'w briodoli, nid yn gymaint i gyfnewidiad yn yr iaith ei hun ag i'r mesurau, y testynau a'r ddulliaith goeth, ond anghyffredin a fabwysiadodd. Esgeulusir Chaucer, Spenser a Ben Jonson gan Seison y dyddiau hyn, er mai hwynthwy oeddynt ragredegwyr y beirdd Seisnig, oherwydd fod yr iaith wedi eu gadael hwy ar ol, nes mai prin y maent yn ddealladwy i Seison y bedwaredd ganrif ar bymtheg; y mae hyn hefyd yn wir i raddau am ein Dafydd ap Gwilym ninau; ond nid dyma'r achos o anhynodrwydd ac anadnabyddusrwydd Goronwy Ddu. Na—yn hytrach hyn ydyw—ei fod yn canu mor gryf, mor sylweddol, mor goethedig, ac yr oedd gofynion y gynghanedd yn aml yn ei orfodi i fasnachu yn ormodol mewn geiriadaeth ansathredig ac annefodol fel ag i gyfyngu cylch ei ddefnyddioldeb yn benaf i'r cyfarwydd; oherwydd os bydd raid rhydio ffosydd geiriaduron i ymofyn am ystyr geiriau y mae yr ergyd yn colli ei grym, a'r hyfrydwch yn darfod! Gan hyny ymddengys i ni ein bod i briodoli anghynefindod y werin a'i farddoniaeth (ni feiddiwn ddywedyd anmhoblogrwydd Goronwy) i natur ei fesurau a choethder ei eiriadaeth; ac oni buasai hyn gallasem yn ddiddadl oll ddarllen a dilyn ehediadau ei awen gyda'r un rhwyddineb ag y darllenem bum cant neu fil o linellau ei gydoeswr Pope; ac yn wir ni byddai raid i Gymru ywilio rhoi ei Goronwy wledig ochr yn ochr ag ef.

Yr oedd yr anghyfarwydd â'r Gymraeg yn nyddiau y bardd yn cwyno ar glogyrneiddiwch ei iaith a'i fesurau, a dyma ddiheurad y bardd ei hun. "Ai ê, prydyddiaeth *esmwyth* a chwennychai Mr. Ellis? As much as to say my numbers don't glide smoothly

enough. Os ynteu y peth a all plentyn ei amgyffred sydd esmwyth, gwell i mi wneuthur ambell ddyri; ond, gan gofio onid yw Llyfr y Ficer a'r Cerdd-lyfr yn ddigon helaeth yn eich plith? * * That is talking to no purpose; I never wrote anything (designedly) for children, no, nor fools, nor old women, and while my brains are sound, never will. Gwaed llosgwrn y gath!" Croen deneu iawn onidê?

Ymherthynas i'w fywyd neillduol ac ardymher ei feddwl ni pherthyn i ni roi barn, ond yn unig ei ffurfio oddiwrth ei ysgrifeniadau a thystiolaeth ei gydoeswyr. Erbyn heddyw y mae canrif wedi taflu ei mantell dywell dros helyntion anghyhoedd ei fywyd, ei gydnabod a'i gydoeswyr wedi myned i dir anghof, a'r dorch gysylltiol wedi ei thori rhyngo a'n hoes ni, heblaw fod ymfudiad ein bardd i Virginia, yr hyn yr edrychai efe ei hun arno fel mynediad i "fyd newydd," wedi ysgaru rhyngom a'i weddillion gwiwbarch. Ni pherthyn i ni, pe gallem, wyntyllio ei nodweddiad personol a chodi yr ûs i'r gwynt; ei fod wedi ei eni a brawf nad yw heb ei fai; ac os yw Gweniaith weithiau yn eneinnio llwch y meirw ac yn perarogli coffadwriaeth yr ymadawedig, nid yw hyny yn un rheswm paham y dylai Enllib roi ei throed i lawr tu fewn i ragfuriau cysegredig y bedd.

"Nil de mortuis nisi bonum."

Nid yw "*a fyno glod bid farw*" ond truthgarwch gwlad; ond dim am y meirw amgen da yw llais dynoliaeth cau gystled ag arwyddair cariad Cristionogol.

Yn ei lythyrau at y tribrawd, Richard, William a Lewis Morris, ei gyfeillion a'i noddwyr, y mae Goronwy i'w ddarllen yn ei iaith ei hun. Yma y cawn ef nid yn unig yn rhyddfeddwl ond hefyd yn rhydd-dafod ac megys yn meddwl ar gyhoedd—yr hyn a eilw y Sais yn "*thinking aloud.*" Dettyd ei fynwes i'w dri chyfaill, a threfyd bob pwnc o'r nodau dysgedig ar Gywydd y Farn hyd at gampau diniwaid y ddeulanc Robert a Goronwy, a mân drafferthion y "wraig Elin rywiog oleu," ac felly nid oes yma na hug na chochl wedi eu taflu drosto ef na'i amgylchiadau; ac yr ydym yma nid yn unig yn darllen Goronwy o Fôn, ond megys yn gweled yn noeth ysgogiad pob olwyn a chymmal yn mbeiriannwaith mewnol ei feddwl.

Nid dyma nodwedd gyffredin gohebiaeth lythyrol; ond pan yr ydys yn ymaflyd yn yr ysgrifell hyd yn oed mewn gohebiaeth

gyfeillgar y mae teimlad dyn yn rhy aml fel wedi ei drwytho gan synfad o wirionedd y dywediad hwnw—"litera scripta manet."—fod yr hyn a ysgrifenir yn parhau i siarad tra y mae yr hyn a leferir yn ymgolli yn yr awyr. Ymddiosga Goronwy o'r ysbryd gochelgar hwn, teifl y llyffetheiriau o'r neilldu, ac y mae yn ei lythyrau i'w weled yn ei fynediad allan a'i ddyfodiad i mewn, nid fel yn masg y chwareuydd, ond yn holl ddidwylledd ac unplygrwydd ei feddwl; nid fel un yn cerdded ar farwor, ond yn difynwesu ei brofiadau diffuantaf gyda holl ymddiried a symledd mabandod. Os goganai Byron wrthuni y molawd ffiaidd a gwrthwynebus a welir yn rhy fynych ar feddfeini a chofadeiliau y meirw—

"When all is done upon the tomb is seen,<br>Not what he was but what he should have been;"

yma, fodd bynag, geilw cyfiawnder arnom i wrthdroi y llinell: yr hyn *oedd* Goronwy, ac nid yr hyn a *ddylasai fod* a adlewyrchir yn y drych hwn.

Ychydig a feddyliodd pan yn ysgrifenu ei lythyrau rhwydd, diofal ac eto ffraethlym at ei dri chyfaill, ei fod ar yr un pryd yn dadblygu ei feddwl mawr o flaen byd llenyddiaeth Gymreig: ond y mae ei lythyrau mewn gwirionedd yn rhy werthfawr i lenyddiaeth ac addysgiadol i'r oes, i'w gadael ymhlith y tryblith llychlyd o hen ysgrifau, ac ynghod gysegredig yr henafiaethydd. Ychydig a feddyliodd wrth gordeddu ei ymadroddion chwareugar ac erlyn ei ymchwiliadau geirdarddiadol ei fod yn codi nid yn unig safon iaith, ond hefyd un o'r safonau wrth yr hon y byddai ei oloeswyr yn ei farnu fel llenawr ac ysgolor. Ychydig, meddwn eto, a feddyliodd mai wrth yr ardeb hwn y bydidd yn edrych arno ac yn barnu ei bryd a'i wedd; a chan hyny cofied y darllenydd ei fod yma yn myned i mewn i gael cipdrem arno drwy y drws cefn, ac nid, fel ymwelydd gonest, drwy ragtal a neuadd ei dŷ; ac yn cael gweled gŵr y ty yn ei ddiwyg gartrefol yn hytrach nag yng nghoegwisgoedd ffugiol y llys. Ni a wyddom ein bod oll, yn ddarllenwyr a golygydd, yn agored i'r cyhuddiad o anfoesgarwch fod yn ymdori ar gyfrinachaeth y bardd, ac yn clustfeinio ar yr ymgom ddifyrus rhyngddo a'r Morusiaid; ond ni feddwn amgen diheurad na'r hen ganon babaidd "fod y dyben yn cyfiawnhau y moddion;" a chan hyny mae gan lwch "llonfardd Mon" hawl

gyfiawn i farn cariad oddiar ein dwylaw, ac na ffromed "degymwyr y mintys a'r anis" wrth hoen a nwyfusrwydd achlysurol yr anffodus Oronwy Ddu. Ni chwennychem doli a llurgunio ei lythyrau gan eu dyddordeb drwyddynt draw. Dyma hwy yn ammrwd ac anghoginiedig, ac os bydd rhai o breswylwyr y palasau gwydr yn barod i luchio ceryg neu i estyn bys at ambell darawiad llym ac arabeddus o eiddo yr awdwr fel engraifft o wamalrwydd, ysganfnder neu wagsawrwydd anweddus, galwed y cyfryw i gof fod ein bardd yn ysgrifenu yn gyfrinachol ac anwyliadwrus, ac fod can mlynedd yn cyfnewid llawer ar wyneb moesddysg can gystled ag ar wyneb y ddaear. Er y credwn y buasai yr awdwr yn ysgythru ambell gangen wyllt, ac anmherthynasol, pe buasai yn dygwydd i'w ran barotoi ei ohebiaeth i'r wasg, eto ni phetruswn ddyweyd nad oes yma un sillaf wrthdarawiadol i broffes bardd nac offeiriad. Na—nid oes yma ddim y rhaid i foesgarwch wrido ei weled; ac os ceir yma ambell ergyd wefriol o ffraethineb, nid yw ond ehediad bywiog athrylith adengref; ac yn wir y mae y fath wythen o rinwedd, a'r fath ysbryd o ymostyngiad dirwgnach i drefniadau rhagluniaethol y Goruchaf yn rhedeg drwy ei holl lythyrau, ag a'n tuedda i obeithio, gan nad pa mor luosog ei wendidau fel dyn, nad oedd yn anmhrofiadol o ddylanwadau bywiol egwyddorion Cristionogol. Nid ffugio teimlad fel y chwareuydd yr oedd, eithr yr oedd ei galon yn ei destyn. "Os nad ydych yn dirnad" medd efe wrth Mr. Richard Morris, "paham y rhoddwyd y geiriau hyn yn ei ddiwedd (Cywydd y Farn,) sef—

'Crist fyg a fo'r meddyg mau,
Amen, a Nef i minau.'

gwybyddwch mai claf a thra chlaf o'r cryd oeddwn y pryd y dechreuais y Cywydd, ac hefyd yr wyf yn cofio mai meddwl am farw a wnaeth i mi ddewis y fath destyn."

Nid oedd yr achles a estynwyd i'r bardd ieuanc, a'i ddyrchafiad o'r sefyllfa isel y ganesid ef ynddi i urddau eglwysig ond megys gwridgochiad twyllodrus wybr y bore a rhagredegydd diwrnod tymhestlog. O'r amser y cawn Oronwy â'i ffon fel Jacob yn croesi y Fenai hyd Donnington, ac o Donnington i Walton, ie mewn gair o'i fwthyn genedigol ar fin y Rhosfawr hyd Williamstown yn Virginia, dyna ei gwyn barhaus—*Myfi yw y gwr a welodd flinder!* Wedi deng mlynedd o amser clywn adsain yr un dôn

gwynfanus o'r hannergylch gorllewinol nes y casglem braidd mai *melancholy* oedd ei nwyd lywodraethol. Eto gwyddom nad felly yr oedd, oherwydd yr ydym yn cael ei fod yn hwylio ac yn adgyweirio ei delyn hyd yn oed yn nhŷ y caethiwed; yr oedd ei "wên yn cuddio'i ofid;" a'r hyn a ddywed yr awenyddol Blackwell am yr eos sydd wir am Oronwy—

"Yn nyfnder nos o boen a thrais
Y dyry lais felusaf."

Y mae'n deilwng o sylw mai llythyrau Goronwy yn unig sy'n drwmlwythog gan ofidiau teuluaidd: am a wyddom nid yw wedi gwneud un cyfeiriad arbenig yn ei ganiadaeth at ei amgylchiadau. Er ei fod yn ddigon ymarferol yn ei destynau a'i ddull o'u trafod, eto ni chlywn ef ynghorff ei gywyddau yn cyfeirio at ei orchwyl yn Donnington fel athraw ysgol, lle yr oedd yn gorfod gwrandaw "gwastadol gwrnad a rhincian eywion Saeson," tra yr ym yn clywed Dafydd Ddu dan yr un amgylchiadau yn cwynfan yn druanaidd ei fod yn

"Gweini ymysg eginau mân"

dan bwys ei bedwar ugeinfed mlwydd. Ni allasem lai na dysgwyl clywed ambell ebwch drallodus gan amgylchiadau gwasgedig yn dianc o fynwes yr *awen*; ac nid rhyfedd a fuasai genym glywed llais y *bardd* gyda'i gyflog bach, a hwnw y mae yn fwy na thebyg wedi mwy na haner ei ragwario, yn cymhwyso ato ei hun eiriau cyffelyb i ddysgrifiad Dewi Wyn o'r llafurwr tlawd yn yr oerfel—

"Aml y mae yn teimlo min
Yr awel ar ei ewin,"

ac yn ol chwysu allan fer ei esgyrn yn

"Dwyn ei geiniog dan gwynaw,
Rhoi angen un rhwng y naw."

Nid dyn cyffredin mo Goronwy, ac nid bywyd cyffredin mo'i fywyd. Yn mherson y Cymro diledryw hwn yr oedd cymaint o athrylith ddisothach a gwir ragoroldeb wedi eu eyd-dwysgo ag a ellid eu dosparthu rhwng lleng o ddynion cyffredin, a gadael i bob un rywbeth gwerth ei feddu: eto amlwg yw na bu erioed yr hyn a eilw y Sais yn "*man of the world.*" A pha fardd sydd? Ei ramadegau, a'i eiriaduron, ei Ddafis a'i Rŷs, ei gywyddau a'i awdlau, ei Ryw a'i Ladin, Ebryw a'i Arabig, cyfiachaeth ieithyddol, geirfonedd a mesurau cerdd dafod oeddynt ei *hobi* barhaus;

ac i Oronwy yr oedd gan yr hen delyn ledr wedi ei brithlwydo gan henaint fwy o swyn a hudoliaeth na'r olwg ar acrau llydain ac ystadau helaeth. Nid uchelfrydedd daearol oedd prif nodwedd ei gymeriad, fel y dengys rhediad ei lythyrau; na, ond cael cwmni yr hen Daliesin, Aneurin, Gwalchmai, Gruffydd Grug, Ap Gwilym, a'r "hen gyrff sydd wedi pydru er ys cannoedd o flynyddoedd," fel saig i'w feddwl; ond cael hyn, meddwn, a lluniaeth at ei angen ei hun a'i deulu yn ei gwpwrdd, yr oedd y bardd mor agos i ystad o foddlonrwydd ag ungwr yn y bywyd ammherffaith hwn. Er hyny tylodi ac angen oeddynt ei gymdeithion parhaus yr ochr yma i'r Werydd; ac hyd yn oed "yngwlad yr addewid" fel y galwai ei gartref newydd, yr oedd rhyw adwyth, drygfyd ac aflwydd yn ei erlyn nes yr ydym yn colli golwg arno dros lithrigfa tir anghof. Er na throediodd o'i gryd i'w fedd drwy ganol perarogl a rhosynau, eto nid oes genym ond canu yn iach iddo yma gan obeithio mai diweddglo gwynfydedig ei yrfa ddaearol oedd fel yr eiddo Sir Philip Sidney, "he died in a dream of glory."

———o———

## CONGL Y GOLYGYDD A'R ARGRAFFYDD.

Gan fod genym amryw fanion anghydryw i'w cofnodi, barnasom yn addas eu cyfleu dan y bennod hon. Wrth fyned rhagom a'r llythyrau drwy y wasg, tramgwyddasom ar draws y frawddeg hon, yr hon a ddyry i ni olwg dalfyredig ar egwyddorion orgraff Goronwy Owen—"My invariable rule in that respect (orthography) was never to double a consonant, when I thought a single one would do as well; as in *genym*, *cymeryd;* for I think we have already too many double ones, which we must use unavoidably, as long as we make use of the present characters and orthography."[1] Sylwasai Mr. John Jones, argraffydd y gwaith, eisoes i'r perwyl a ganlyn—yr hwn a fydd o ddyddordeb i'r darllenydd—"Yr wyf yn canfod nad oedd Goronwy ddim yn arfer cynifer o gydseiniaid dyblyg ag ydym ni yn eu defnyddio yn ei waith pan oedd yn cyfieithu papur y Cymmrodorion,—ai eithriad oedd hyny i'r hyn a fyddai yn ei arferyd yn ei lythyrau ynte ei arferiad yn gyffredinol ydoedd? Y mae ei lythyrau wedi eu copio gymaint o wahanol droiau, gan wahanol ysgrifenwyr, (a phawb yn arfer ei ddull ei

hun mae'n debygol,) fel na wyddys yn y byd pa fodd yr oedd efe yn arferyd. Gwyddom mai cydseiniaid dyblyg lawer oeddynt yn cael eu harfer yn gyffredinol yn yr oes hono. Y mae y cydseiniaid dyblyg yn llytharau y Gwyliedydd gymaint ag mewn nemawr waith a welsom: ond efallai mai mympwy y Golygydd oedd hyny o ddilyn yr hen arferiad mor fanol ag y gallai, ac yr oedd hyny yn bur naturiol i'w feddwl. Pa fodd bynag, gwell i ni gadw at yr un orgraff i'r diwedd."

Ymgynghorai y golygydd â'r argraffydd a chyhoeddydd y gwaith ynghylch priodoldeb yr ymadrodd—

"Pan fo Mon a'i thirionwch
O wres fflam yn eirias fflwch,
A'i thorog *wythi arian*
A'i *phlwm* a'i *dur* yn FFLAM DAN."

Mewn atebiad i'r hyn y derbyniwyd sylw cyfrinachol a ganlyn, yr hwn y beiddiwn ei gyhoeddi—

"Gwelais, yr wyf yn meddwl, ryw sylw genych ar y geiriau *A'i phlwm a'i dur yn fflam dan*,—mai nid *llosgi* y byddai *plwm*, *arian*, a *haiarn*, *&c.* Yr wyf yn meddwl mai barn fyrbwyll ar y geiriau neu'r ymadrodd a fyddai hyny. Oblegyd os twymnir *haiarn* a *dur* (yr un defnydd yw y ddau) yn rhy boeth, fe fflamiant ac ânt yn ulw, ac fel pridd, fel na bydd mwy o sylwedd ynddynt fel metel nag sydd mewn pridd, a'u llosgi i'r eithaf. Mae'n ddywediad cyffredin gan y gofaint wrth eu prentisiaid a'u llanciau. "Dyna'r haiarn (neu y dur) yn myned allan trwy y *simnai*," sef yn wreichion gloywon, pan fyddo y twymniad yn myned yn rhy angerddol. Y mae y meteloedd ereill yn ddarostyngadwy i'r un dynged, os parheir i ychwanegu poethder y tân ar ol iddynt doddi."

Er nad ydyw yr argraffiad presennol yn berffaith, eto costiodd cywiriad aml linell yn y gwaith gryn benffwdan i'r golygydd a'r argraffydd. Yn wir cawsom gymaint trafferth gyda rhai o'i lythyrau hefyd â phe buasem yn ceisio deongli *hieroglyphics* Ninifeaidd. Eto gofalasom am beidio newid ond yr hyn ag oedd yn amlwg ynddo ei hun. Yn y 12fed tudalen cawn yn y cynargraffiad y llinell—

"Gwae leidr a eirch glod i'r Ion,"

ond cytunai yr argraffydd a'r golygydd mai "clod *yr* Ion" a

feddyliai yr awdwr, sef ei chwennych neu ei geiso iddo ei hun, ac o ganlyniad ni phetrusasant fabwysiadu y darlleniad hwn a'r cyffelyb, er na fynasent gyfnewid sill na llythyren lle y byddai yr awdurdod yn amheus.

Gydag un o'r prawfleni daeth y sylwadau a ganlyn i law—"Mae cryn wahaniaeth rhwng copiau O. W. a'r Gwyliedydd mewn *punctuation* a'r orgraff mewn rhai manau; ac yn wir O. W. wyf fi yn weled oreu. Mi feddyliwn mai adysgrifau yw pob un o'r ddau,—hyny yw adysgrifau o adysgrifau, ac nad oes yr un o'r ddau wedi eu copio o'r llythyrau gwreiddiol. Ac y mae yn debygol nad oedd yr awdwr wedi rhoi dim attalnodau, gan nad oedd ef erioed wedi meddwl y byddai iddynt gael eu hargraffu: felly yr oedd pob copiwr yn rhoi attalnodau yn ol ei feddwl ei hun.

Y mae O. W. yn rhoi y ddiareb "Pob cyffelyb ymgais." p. 190, yn iawn, yn ol fel y gwelais i hi.—Ond y mae y Gwyliedydd yn ei dodi "Pob cyffelyb *a* ymgais." Ni welais i moni erioed felly. Am attalnodau y Gwyliedydd, er ein bod wedi ei ddilyn gan mwyaf y mae yn dodi dryll-ymadrodd, a haner dryll-ymadrodd lle mae ysgrifenwyr yr oes yma'n gyffredin yn dodi diweddnod. Er enghraifft yn y 10fed llinell o tudalen 190, buaswn yn meddwl y buasai diweddnod yn llawer cymmwysach, ac mewn amryw fanau yn gyffelyb.

A wnewch chwi sylwi ar yr ymadrodd—"*cerig y Borth*" yn tu dal. 192 llinell 12. Y mae'n ymddangos wrth y *B* capital (yr hon sydd yr un modd yn y ddau gopi) fod y copiwyr yn meddwl rhyw borth neillduol megis Porthaethwy, Porth Amlwch, &c; ond yr wyf fi yn ei ystyried yn ymadrodd *ffugurol.* Clywais fy nhad a hen bobl yr oes hono yn ei arfer felly, "tynu at gerrig y borth," sef yw hyny tynu at y pen; "y mae hwn a hwn yn tynu at gerig y borth" pan fyddai ei fywoliaeth ar gwympo, ac weithiau y byddwn yn ei ddeall pan fyddai einioes yn ymddangos o fod yn tynu at y pen. Clywais hefyd ei arfer mewn dull gwahanol, sef pan fyddai dryghin yn ymddangos yn agoshau, pan fyddid yn dygwydd bod enyd o ffordd o gartref, a'r ddryghin yn debyg o oddiweddyd,—clywais fy nhad yn mynydd Cefn Cyfarwydd, a lleoedd cyffelyb, dan y cyfryw amgylchiadau, yn dywedyd "Gwell i ni chware am 'gerig y borth,' gan gynted ag y

gallom." Felly tynu at "adref," yw tynu at gerig y borth yn y ddau amgylchiad. Ond efallai mai yr arferiad o'r capitals, fal yr oedd yn gyffredin yn yr oes o'r blaen mor fynych a wnaeth iddynt arfer y B yn yr amgylchiad uchod, ac nad oeddynt yn camgymeryd y meddwl."

Nis gwyddom pa un ai ymadrodd lleol ynte cyffredinol drwy'r dywysogaeth yw y geiriau "ceryg y borth"; os lleol credwn fod gan Oronwy gyfeiriad at Borth Aethwy; os cyffredinol ar y llaw arall y mae y deongliad uchod yn deilwng o sylw pwyllusaf y darllenydd.

Yng Nghywydd Calendr y Carwr darlunia y bardd ei hun ar hynt garwriaethol yn

"Cerdded rhag ofn gweled *gŵyll*,
Grebach (na bo'nd ei grybwyll,"

Os yr un gair yw *gŵyll* (goblin) a *gwyll y nos* (ac felly y mae yn ein geiriaduron, fel y trawsenwn *shade* yn ysbryd yn Saesoneg,) yna swnir ef *gwŷll* weithiau, yr hyn ni chyd odlai â *chrybŵyll*. Y mae *gwyll* yn cydodli ag *esgyll* gan D. ap Gwilym a chan D. ap Edmwnt yn y geiriau

"Cyll caead gwyll yw coed Gwen."

Ar y pen hwn y mae y nodyn prawflenol hwn o eiddo yr argraffydd yn deilwng o sylw.

"Am y gair *gŵyll* yr wyf fi yn barnu mai felly yr ysgrifenodd yr awdwr o. Clywais lawer gwaith er's talm, gan bobl yr uchder oedd yn magu merlynod "fod yr *ŵyll* wedi bod yn marchogaeth ar gefn eu merlyn neu eu merlen." Y dŷb oedd, ac eto gan rai mae'n debyg, bod rhyw ellyll a elwid felly yn disgyn arnynt ar droiau, ac yn eu gyru yn ddidrugaredd, nes y byddent yn chwŷs mawr, a bron syrthio i lawr, os nid yn syrthio, a byddai eu mwng wedi ei ddyrysu a'i gyfrodeddu trwy ei gilydd, fel nad oedd yn bosibl ei ddad-ddyrysu. Gwelais fyngau felly ag y credid mai yr ŵyll a fu yn eu gyru. Ond byddwn bob amser er fy mod yn bur ieuangc yn ei ystyried yn[1] *nonsense*. Ond yr oedd yn cael ei gredu gan bobl y tylwyth teg. Ac am wn i mai un o'r tylwyth teg oeddynt yn ei gredu ei fod. Yr wyf yn meddwl mai dyna oedd D. ap Gwilym yn ei feddwl wrth ganu i'r Ddylluan "Wyll ffladr a gân i'r lladron." Peth arall sy'n peri i mi feddwl

[1] *Oedd* yn lle *ofn* sy'n un o'r cynargraffiadau, yr hyn sy wall-ymadrodd.

mai *twyll* oedd y gair gan yr awdwr, oblegyd yr wyf yn ameu a fuasai ef yn gosod *gwŷll* i gydodli a *grybwyll*, oblegyd mai *grybwyll* y seinir y gair ac nid *grybwŷll*. Ond dylaswn ychwanegu fod y gair neu ymadrodd *Cwlwm yr twyll* yn bur gyffredin gan hen wragedd yn nyddu. Pan fyddai y cenglau wedi dyrysu, na byddai braidd modd i'w dad-ddyrysu, dywedent "Y mae hwn wedi myned yn *gwlwm yr wŷll*." Clywais yr ymadrodd lawer gwaith gan fy mam ac eraill."

Un dyfyniad eto o'r ymgom brawfleuol rhwng y golygydd a'r argraffydd, yn yr hwn y sylwai yr olaf fel y canlyn ar y gair "*marwysgafn*," a'r gynghanedd a elwir "*Braidd Gyfwrdd*"—at y rhai y cyfeiria Goronwy ar y pryd yn ei ohebiaeth—"Marwysgafn—Yr wyf fi yn ddigon cynefin â'r gair, er na allaf gofio yn awr pa le i gael enghreifftiau o hono. Mae'n debyg nad oes fawr o arferiad o hono gan ysgrifenwyr y dyddiau hyn, oblegyd mewn ysgrifau o'r oesoedd a aethant heibio y gwelir o. *Gwely angau* a feddylir; y mae y gair yn T. Richards ac yn Walters hefyd ar el *Death-bed*. *Ysgafn* o ŷd neu wair, sef dâs neu gwlas wedi ei osod ar ei gilydd. Gelwir, hefyd, y gwaith o weithio y cwlas i fyny yn *ysgafnu*, a'r gweithiwr yn *ysgafnwr*. Yr wyf fi yn tybio mai oddiwrth y gair yna y tardda *marwysgafn*, sef un wedi ei osod ar wely i farw, neu i aros, fel y mae dâs o ŷd, dros amser. *Braidd gyfwrdd*.—Hen gynghanedd a drowyd heibio allan o arferiad yw hi pan sefydlwyd y 24 mesur, tu ag amser D. ap Edmwnt, am a wn i, fel cynghanedd rhy wàn a rhy ddirym. Nis gwn i ddim paham yr ysgymunwyd hon mwy nâ'r gynghanedd lusg; mae hi yn ymddangos i mi mor rymus a hithau, os nad mwy grymus. Mae'n debyg ei bod yn un o'r cynghaneddion hynaf mewn arferiad yn y cynoesoedd, cyn i lawer o'r rhai sydd mewn arferiad yn awr gael eu llunio Mae'r enw *braidd gyfwrdd* yn ddigon addas iddi, feddyliwn i. Dyma enghraifft yn ol rhyw un o'r hen Reolau—

"Er a fu *gu gw*ehelyth."

A welwch chwi fel y mae y ddwy *g* braidd yn cyffwrdd â'u gilydd yn y canol, a dau ben y llinell yn ddigon rhydd heb gyffwrdd âg un gydsain yn unlle. Felly y mae enghraifft Goronwy—

"Arddwyreaf ha*el* o hil*l* Iago,"

Gwelwch fel y mae Goronwy yn ei galw yn "most delightful

jingle." Yr oedd Goronwy yn hoff iawn o gynghaneddion, fel y gwelwn, ac eto mor ddirmygus â neb yn yr oes yma o rai a fyddai yn aberthu iaith a synwyr er ei mwyn."

Yn Nghywydd y Maen Gwerthfawr, dan ffugur yr hwn y mae y bardd yn ymofyn am DDEDWYDDYD, dywed—

"Mae (er Naf) harddaf yw hi,
Y gemmydd a'i dwg immi?
Troswn o chawn y trysor,
Ro a main daear a môr:
Ffulliwn hyd ddau begwn byd,
O'r rhwyddaf i'w chyrhaeddyd,
Chwiliwn, o chawn y dawn da,
Hyd *rwndir* daear India,
Dwyrain a phob gwlad araul,
Cytled ag y rhed yr haul."

Ar y llinell "Hyd rwndir daear India," gwelwn ymhlith nodiadau yr argraffydd y sylw a ganlyn.

"Am '*rwndir* daear India,' nid wyf yn ameu nad dyna fel yr ysgrifenodd Goronwy y gair. Mi feddyliwn mai rhyw leiniau megis cefnau neu gwysau a feddylir wrth y gair *grwn dir.* Gan ei fod yn chwilio hyd "Ro a main daear a môr," onid oedd yn ddigon naturiol iddo âru a throi cwysau y tiroedd am y gem. Y mae *rhandir* yr *India*, yn beth mor gyffredin mewn cynghanedd-ion, fel nad oes nemawr neb wrth sôn am yr India na ddaw rhan-dir i mewn yn rhywle os byddys yn ymgais am gynghanedd; ac nid oes genyf amheuaeth nad felly yr oedd yn amser Goronwy, o ran yr oedd llawer o rigymyddion y pryd hwnw megis, Ellis y Cowper, &c.Ië, yr wyf o'r farn y gochelasai Goronwy eiriau oedd yn rhy gyffredin gan rigymyddion, hyd yn nod pe buasai raid iddo gymeryd geiriau gwaelach yn eu lle."

# BYR GOFION AM BERSONAU

AG Y MAE EU

# HENWAU YN DWYN PERTHYNAS A'R GWAITH HWN.

GAN DAFYDD DDU ERYRI.

## LEWIS MORYS, YSW.

LEWIS MORYS a anwyd, meddir, yn y Tyddyn Melus, ymhlwyf Llanfihangel Tre'r Beirdd, ym Mon, ar y 12fed dydd o Fawrth, 1700, fel yr ymddengys ynghoflyfr yr Eglwys honno. Efe ydoedd fab hynaf Morys ap Rhisiart Morys, o Fargaret, ei wraig; yr hon ydoedd ferch Morys Owen o Fodafon y Glyn, yn y Plwyf dywededig.

Lewis Morys, yn ei ieuenctyd, a ddilynodd gelfyddyd ei dad, sef cowperiaeth; ond nid yw yn ymddangos ddarfod iddo ddilyn y gelfyddyd uchod yn hir. Dywedir y medrai Lewis Morys wneuthur Telyn, a'i chwarae: gwneuthur Llong, a'i hwylio: gwneuthur Cywydd, a'i ddatgan gan dant.

Tebygol ddarfod iddo gymeryd arno y swydd o fesur tir, yn lled foreol yn ei oes: drwy'r cyfryw waith, yn gystal a'i gywreinrwydd cyffredinol mewn amrywiol ganghenau o wybodaeth, efe a ennillodd sylw a chymmeriad boneddigion ei wlad enedigol; mewn amser, derchafwyd ef i swyddogaeth berthynol i'r Dollfa, Ynghaergybi ym Mon. Symmudodd o Gaergybi i swydd Geredigion, yn yr hon wlad y parhaodd dros hir amser, i fwynhau lleoedd a swyddau dan y llywodraeth; megys Cynnullwr (*Collector*) Aberdyfi; Golygwr tiroedd a mwn-gloddiau'r Brenhin, &c.

Mr. Lewis Morys a osododd argraph-wasg i fynu ym Mod Edeyrn ym Mon: argraffwyd yno lyfrau, a elwir Ymarfer o Lonyddwch, a rhai mân bethau eraill. Cynnygiodd Mr. Lewis Morys argraphu llyfr a elwir Tlysau'r hen oesoedd: yr hwn a fwriadodd efe i ddyfod allan yn rhannau, ond, ni lwyddodd yr amcan: nid yw yn ymddangos ddarfod argraphu mwy nag un rhan o'r unrhyw. Yr argraph-wasg a grybwyllwyd uchod, a werthwyd i Dafydd Jones, o Drefriw, a thebygol fod y wasg, hyd y dydd heddyw, yn meddiant ei fab Mr. Ismael Jones; yr hwn, ynghyd â'i fab Mr. John Jones, (bardd celfyddgar) sydd argraphwyr blodeuog yn Nhrefriw, yn agos i Lanrwst.

Preswyliodd Mr. Lewis Morys, dros amser, mewn lle a elwir Gallt Fadog; wedi hynny, mewn lle a elwir Penrhyn y Barcud, ac yno, meddir, y bu ef farw, Ebrill yr 11eg, 1765, yn 65 oed.— Dywedir fod ei gorph yn gorwedd yn Llanbadarn fawr.

Dywedir yn gyffredin, a hynny yn wir, fod Mr. Lewis Morys yn un o'r Cymry cywreiniaf yn ei oes. Yn y flwyddyn 1737, pennodwyd ef gan y llywodraeth, i arolygu, mesur a darlunio porthladdoedd, aberoedd ac arfordiroedd Cymru: ffrwyth ei lafur

a'i ddiwydrwydd, a gyhoeddwyd yn y flwyddyn 1748, dan yr enw *Plans of Harbours, Bays and Roads, in St. George's Channel.* Y gwaith uchod a ennillodd iddo barch ac anrhydedd parhaus, o blegyd, ni chyfrifir, y dydd heddyw, odid un llyfr mwy cywir a buddiol i'r morwyr sydd yn arfer o fordwyo ar gyfer arfordiroedd Cymru, (yn y mor Udd) nac ydyw'r llyfr a grybwyllwyd, o waith Mr. Lewis Morys.

Yr oedd Mr. Lewis Morys yn Brydydd a Hynafiaethydd cyfarwydd a gorchestol; ac efe ysgrifennodd lawer ar iaith a hanesion ei wlad. Ei ganiadau a argraphwyd y tro cyntaf yn y Diddanwch Teuluaidd, yr hwn a argraphwyd yn Llundain, yn y flwyddyn 1763.

Mae'r chwedl ynghylch Mr. Lewis Morys yn cylchio llestr i wr bonheddig o'i gymydogaeth, yn swydd Geredigion, mor gyffredin a rhedegog Ynghymru, fel na raid ond ei grybwyll yma.

Gadawodd Mr. Lewis Morys ar ei ol ynghylch 80 o ysgrif-lyfrau, bernir mai'r ysgrif-lyfr mwyaf gwerthfawr o'i waith ydyw'r llyfr a elwir CELTIC REMAINS, yr hwn sydd yn cynnwys rhan fawr o ffrwyth ei lafur am ynghylch deugain mlynedd o amser. Gresyn, a thra gresyn, na argrephid y cyfryw lyfr, er mwyn helaethu terfynau gwybodaeth Cymry a Saeson, mewn hynafiaeth, ieithyddiaeth, a changhenau eraill o wybodaeth, y rhai sydd yn gysylltiedig â'r unrhyw.

Yr oedd Mr. Lewis Morys yn cynnal ymlythyraeth ehang gydag amryw o ddysgedigion ei oes, ym mysg eraill ysgrifenodd lawer at Mr. Edward Richard, diweddar athraw ysgol Ystrad Meurig, Yngheredigion; Mr. Richard hefyd a ysgrifenodd lawer o lythyrau atto yntau, ar amrywiol byngciau o ddysgeidiaeth, fel y dengys y llythyrau gwreiddiol, y rhai, yn awr, sydd yn meddiant Paul Panton, Ysw., o'r Plas Gwyn ym Mon.

Mae hefyd adysgrifeniadau (*transcripts*) o laweroedd o lythyrau Mr. Lewis Morys, o ysgrifenlaw y Parch. Evan Evans, ym meddiant y gwr bonheddig a enwyd uchod.

Mr. Lewis Morys ydoedd athraw prydyddol y Parchedigion, Goronwy Owen, Evan Evans, a llawer o Feirdd eraill; fel y tystia y pennill canlynol o eiddo y Parchedig Goronwy Owen:

"A thra bo urddawl athraw beirddion,
A mwyn dysg wiwles mewn dwys galon,
Gwiwdeb ar iaith a gwaed y Brython,
Ac awen Gwynedd ac ewyn gwendon,
Daear a nef, a dw'r yn afon,
Ef a gaiff hoywaf wiw goffeion."

## RHISIART MORYS, YSW.

Mr. RHISIART MORYS, (brawd Mr. Lewis Morys) ydoedd wr cywrain a chyfarwydd yn iaith a barddoniaeth ei wlad; yr ydoedd efe, medd y Parchedig Goronwy Owen, yn feddiannol ar ddawn awen-

ydd. (Gwel tu dal. 52 o'r llyfr hwn.) Ond, y mae Mr. Lewis Morys, mewn llythyr at ei frawd, Mr. William Morys o Gaergybi, yn dywedyd na chyfansoddasai efe erioed un gân gyfan yn Gymraeg; sef, hyd yr amser yr oedd Mr. Lewis Morys yn ysgrifenu ei lythyr, &c.

Treuliodd Mr. Rhisiart Morys y rhan fwyaf o'i fywyd, megys pen-ysgrifenydd uchel a chymmeradwy, yn y swyddfa forawl, (*Navy Office*,) John Owen, bardd a thelynor, sef, nai, fab chwaer, i'r Morysiaid, a fu, dros amser, yn ysgrifenydd iddo.

Golygodd Mr. Rhisiart Morys ddau argraphiad o'r Bibl Cymraeg, os nad ychwaneg, a bu yn gymmwynaswr haelionus i'w gydwladwyr mewn amryw ffyrdd, fel yr ymddengys yn ei lythyrau at y parchedig Evan Evans. Dangosodd barodrwydd ewyllysgar a haelionus i gynnorthwyo y diweddar Barchedig Peter Williams yn y gorchwyl llafurus a llesfawr o gyhoeddi'r Bibl Cymraeg, gyda nodau a sylwiadau ar bob pennod. Ymdrechodd Mr. Rhisiart Morys yn fywiog o blaid trigolion plwyf Trefdraeth ym Mon, pan fuont mewn cyfraith, o achos gwrthwynebu cymmeryd Sais yn Berson eu plwyf;—ennillodd plwyfolion Trefdraeth y dydd, a chollodd y Sais y Bersonoliaeth.—Mae'n ymddangos hefyd, fod Mr. Rhisiart Morys yn arferol o wneuthur mynych gymmwynasau caredigol a haelionus i'r Goronwy, fel yr arferai efe ddywedyd, cyn myned o Oronwy i America, yr oedd Mr. Rhisiart Morys, yn cwyno yn dosturus drosto, o herwydd ei amgylchiadau culion; a diammeu ddarfod iddo wneuthur ei oreu iddo, erddo a throsto;—ar ol myned o Oronwy i America, arferai Mr. Rhisiart Morys gwyno yn hiraethus ar ei ol; yr hyn sy'n brawf dilys ddarfod iddo barhau yn gyfaill ffyddlon a didor iddo hyd ddydd ei farwolaeth, yr hyn a ddigwyddodd yn y flwyddyn 1779; ei gorph sydd yn gorwedd ym monwent St. Siôr ddwyreiniol, yn Llundain, gadawodd ar ei ol wraig a phlant: cyfansoddwyd marwnadau o goffadwriaeth am dano gan amryw Feirdd Cymru, sef, Jonathan Hughes, Llangollen, John Edward, Glyn Ceiriog, Rhisiart Jones o Fon. Barnwyd Rhisiard Jones yn oreufardd, anrhegwyd ef gydag ariandlws megys gwobrwy am ei waith, gan anrhydeddus Gymdeithas y Cymmrodorion, yn Llundain, ar yr hon yr oedd Mr. Rhisiart Morys yn Llywydd.

## MR. WILLIAM MORYS, O GAERGYBI.

Mr. William Morys, brawd Mr. Lewis Morys, a dreuliodd y rhan fwyaf o'i einioes, megys Cynnullwr y doll ar yr halen, Ynghaergybi. Arferodd ddiwydrwydd nid bychan, a llafur didor, yn ad-ysgrifennu gwaith yr hen Feirdd; un ysgrif-lyfr o'i eiddo, a elwid y Delyn Ledr. Mae'n ymddangos wrth eiriau y Goronwy, yn un o'i lythyrau, fod cynnwysiad yr ysgrif-lyfr uchod yn dra

gwerthfawr.—Yr oedd Mr. William Morys yn meddu gwybodaeth helaeth mewn Llysieuaeth (*Botany*) fel y crybwyllir mewn un Cywydd, o waith y Goronwy. Mr. Evan Evans hefyd, yn ei Gywydd marwnad ar ol Mr. William Morys, sy'n dwyn tystiolaeth i'r un gwirionedd:

> Bras-gamu, llamu yn llwybr
> Linnæus yn lan ewybr.

Mae'r un Bardd yn tystio, ei fod yn arferu dysgu ieuenctyd Caergybi i ganu Psalmau yn rheolaidd: yr oedd efe hefyd, yn ol ei eiriau ei hun, yn ei lythyr at y Bardd Coch, yn arfer ymddifyru ei hun wrth '*ffossilita*,' neu, gasglu amryw fath o gloddiadon, cregyn anghyffredin, a phethau eraill o'r fath. Mae prif ragorion y gwr enwog hwn yn cael eu darlunio mewn dull tra phrydyddol a bywiog, mewn Cywydd, o waith Mr. Robert Hughes, o Geint Bach,

> Croesaw Fardd, gan y Garddwr," &c.

Cyfrifid gardd Mr. William Morys, Ynghaergybi, yn un o'r gerddi harddaf a thirionaf Yngwynedd.

Bu farw yn y flwyddyn 1764. Mae'n debygol ddarfod iddo gael ei gladdu ym mynwent Cybi.

Y geiriau hyn a ysgrifenodd y Parchedig Evan Evans, o flaen Awdl marwnad iddo, 'Llysieuydd godidog, a rhagorol ei wybodaeth yn amryw geingciau Philosophyddiaeth anianol, celfydd yn iaith yr hen Frytaniaid a'r Beirdd, a hynod am amryw gampau gorchestol, a rhinweddau da eraill, nad ydynt yn aml Ynghymru y to yma.'

## MR. SION OWEN.

Mr. JOHN OWEN, neu, fel yr enwai ef ei hun, yn ei lythyrau at y Parchedig Evan Evans, Sion ap Owen Dafydd, oedd nai, fab chwaer i'r Morysiaid a grybwyllwyd yn y cofion rhagflaenol. Mae'n debygol ddarfod i'r gwr ieuangc blodeuog hwn gael ei ddwyn i fynu dan olygiad ei Ewythrod. Mae'n amlwg oddiwrth ei Gywydd, a elwir "Cywydd Mab ieuangc," ddarfod iddo dreulio rhan o'i amser yn swydd Geredigion; a thebygol iddo symud oddiyno i Lundain, lle y bu am ryw fesur o amser yn ysgrifenydd i'w Ewythr, Mr. Rhisiart Morys. Ysgrifenodd lawer o lythyrau o Lundain at y Parchedig Evan Evans, yr hwn oedd y pryd hwnnw yn Gurad Llanfair Talhaiarn yn Swydd Dinbych. Mae Mr. Rhisiart Morys, yn un o'i lythyrau at y Parchedig Evan Evans, yn crybwyll, ei fod wedi cael lle enillgar i'w nai, Mr. Sion Owen, megys *Purser* (talwr cyflogau) ar fwrdd un o longau rhyfel y Brenhin—Bu farw ar y môr, o glwy'r gwaed.

# GWAITH

Y

# Parch. Goronwy Owen.

## CYWYDD I'R AWEN.

Ar Ddull Horas, Lib. IV. Ode III.

*Quem tu, Melpomene, &c.* 1752.

O Chai fachgen, wrth eni,
Wyd Awen dêg, dy wên di,
Ni bydd gawr na gwr mawrnerth,
Prydu a wna, Pa raid nerth?
Ni char ffull na churo ffest
Na chau dwrn, o chaid ornest;
O bâi'n agwrdd benigamp,
Ni chais glod gorfod y gamp;
Yn ei ddydd e ni ddiddawr
Gael parch am yrru march mawr;
Ni chyrch drin na byddinoedd,
Ni char nâd blaen-gad a bloedd,
Ni chaiff elw o ryfelwaith,
Na chlod wych hynod ychwaith,
Na choron hardd, ddigardd ddyn,
Draw i gil o droi gelyn:
Mawl a gaiff am oleu gerdd,
A gwiw sein-gan gysson-gerdd,

Barddwawd fel y gwnai beirddion
Defnyddfawr o *Wlad fawr Fon.*
  *Cymru* a rif ei phrif-feirdd,
Rhifid ym *Mon* burion beirdd,
Cyfran a gaf o'u cofrestr,
A'm cyfrif i'w rhif a'u rhestr;
Mawrair a gaf ym *Meirion*
Yn awr, a gair mawr *Gwyr Mon;*
Llaesodd, ar aball eisoes,
Cenfigen ei phen a ffoes.
  O f' Awen dêg! fwyned wyt!
Di-odid, dawn Duw ydwyt,
Tydi roit, â diwair wên,
Lais eos i lyswen!
Dedwydd, o'th blegyd, ydwyf,
Godidog ac enwog wyf,
Cair yn son am *Gronwy*
*Llonfardd Mon,* llawn fyrdd a mwy,
Caf arwydd lle cyfeiriwyf,
Dengys llu â bys lle bwyf.
  Diolch yt, Awen dawel,
Dedwydd wyf, deued a ddel;
Heb Awen, baich yw bywyd,
A'i rhodd yw rhyngu bodd byd.

## CYWYDD I LEWIS MORYS, Esq.,

O *Allt Fadog, yng Ngheredigion,* yn dangos nad oes dim a geidw goffadwriaeth am Ddyn, wedi angau, yn well na gwaith Bardd, ac na ddichon na Cherfiwr na Phaentiwr roi cystal Portreiad o Wr ag a rydd Prydydd awenyddol. Y *Cywydd* hwn hefyd sydd ar ddull Horas, Lib. IV. Ode VIII. *Donarem pateras grataque, &c.*

Rhoddwn ariant a rhuddaur,
Rhown yt gawg gemmawg, ac aur,
I'r cyfeillion mwynion mau,
Deuai geinion deganau,
Genyf o bâi ddigonedd;
(A phwy wna fwy oni fedd?)
I tithau y gorau gaid,
*Lewys* fwyn, lwysaf enaid;
Pe bâi restr o aur-lestri
O waith *cyn maelgyn* i mi,
Ti a gait, da it y gwedd,
Gennyf yr anrheg iawnwedd.
  Odid fod o fychodedd,
Rhodd dreulfawr, rhai mawr a'i medd;
Tithau, nid rhaid it' weithion,
Ni'th ddorodd y rhodd aur hon;
Caryt gywyddau cywrain,
Rhynged dy fodd rhodd o'r rhai'n,
Rhodd yw, cyhafal rhuddaur,
A chan gwell; uwch yw nag aur.
  Onid ofer iawn dyfais
I fynu clod o faen clais?
Naddu llun eilun i wr
Dewrwych, portreiad aewr,

Llunio'i guch, a llain gochwaed,
A chawr tan ei dreisfawr draed?
  Pond gwell llên ac awenydd?
Gwell llun na'r eilun a rydd;
Dug o eryr da'i gariad,
Gwrawl Udd a gâr ei wlad,
Llyw yn arwain llon aerweilch,
Teirf yn nhrin fyddin o feilch,
Wrth a gâr, yn oen gwaraidd,
Yn nhrin, llyw blin, llew a blaidd,
Arafoen i'w wyr iefaingc,
Llew erchyll, a ffrewyll Ffraingc.
Pwy ag arfau? pa gerfiad
A rydd wg golwg ei gad?
Trefi yn troi i ufel
O'i froch, a llwyr och lle'r el!
  Pwy a gai, oni bâi bardd,
Glywed unwaith glod iawnhardd?
Tlws ein hiaith *Taliesin* hen
Parodd goffau AP URIEN;
Aethai, heb dant a chantawr,
Ar goll hanes *Arthur Gawr*.
Cân i fâd, a rydd adwedd
O loes, o fyrroes, o fedd;
Cerdd ddifai i rai a roes
Ynnill tragywydd einioes,
*Nudd*, *Mordaf*, haelaf helynt,
Tri hael Ior, ac *Ifor*, gynt,
Laned clod eu haelioni
Wrth gler, hyd ein hamser ni!

Ac odid (mae mor gadarn)
Eu hedwi fyth hyd y farn.
Rhoddent i feirdd eu rhuddaur
A llyna rodd well nâ'r aur;
Rhoid etto (nid rhaid attal)
I fardd, ponid hardd y tâl?
A ddel o'i awen ddilyth
O gyfarch, a bair barch byth.

---

## DAU ENGLYN O GLOD I'R DELYN, 1755.

TELYN i bob dyn doniawl,—ddifaswedd,
Ydoedd fiwsig nefawl;
Telyn fwyn-gan ddiddanawl!
Llais Telyn a ddychryn ddiawl.

Nid oes hawl i ddiawl ar ddyn—mwyn cywraint,
Y mae'n curo'r gelyn;
Bwriwyd o *Saul* Yspryd synn,
Diawlaidd wrth ganu'r Delyn.

---

## CALENDR Y CARWR.

**Cywydd Serch, a gânt y Bardd ym *Mhwllheli*, ynghylch y flwyddyn 1743; ac a ddiwygiawdd ychydig arno 1753.**

GWIR yw i mi garu merch,
Trosais hyd holl ffordd traserch;
Gwelais, o'r cwr bwygilydd
Cyni a gresyni sydd.

Nwyfus fu'r galon afiach,
Ow galon sal feddal fach!
Wyd glwyfus, nid â gleifwaith,
Gwnaeth meinwen â gwen y gwaith;
Ow'r donn anhoywfron hyfriw!
Ow rydda'i llun, hardd ei lliw!
Teg yw dy wên, gangen gu,
Wyneb rhy dêg i wenu;
Gwenferch wyt, gwae fi ganfod
Dy rudd! a di fudd dy fod.
Mwynach a fych, fy meinwen,
Archaf i Dduw Naf, ddyn wenn;
Mwynach (pe Duw a'i mynnai)
Neu fid it' o lendid lai.
Da, ddyn fain, y'th gywrainiwyd,
Hygar ei ffurf, hoywgorph wyd;
Adwyth fod it', ddyn wiwdeg,
Ogwydd i dwyll â gwedd dêg.
Odid y canfu adyn,
Chwidrach anwadalach dyn;
Seithug a gefais wythwaith
Gan fain ei hael, gwael y gwaith;
Siomaist fi 'r wythnos yma,
Nos Sadwrn ni chawn dwrn da,
Diw Sul y deuais eilwaith,
Dyddd Llun y bu'n dywydd llaith;
Diw Mawrth, da ym' ei wrthod,
Dydd Merchur garw gur ac ôd,
Dydd Iau diau fu deg,
Och Wener! gwlaw ychwaneg.

Ail Sadwrn a fu'swrn sych,
Oerwynt im' oedd, ddyn eurwych,
Rhew ydoedd a rhuadwynt,
O berfedd y gogledd gwynt.
Trwy gorph nos yr arhosais
(Dwl im') ac ni chlywn dy lais,
Cnithio 'n gras ar y glaswydr
A'm bys, gyd ag ystlys gwydr,
Llwyr egru llawer awgrym,
Dysgwyl i'r ddor egor ym';
Yno gelwais (à llais llwrf
Rhag cwn, a pheri cynnwrf)
*Mari fwyn*, mawr yw f' anwyd,
Oer ydyw, o clyw, o'th clwyd,
Mawr yw fy nghur, lafur lwyth,
Deffro gysgadur diffrwyth;
Galwad, ond heb atteb, oedd,
Mudan, fy nyn im' ydoedd.
Symudaw'n nes, a madws,
Cyrraedd dôl dryntol y drws,
Codi'r glicciad wichiedig,
Deffro porthor y ddor ddig,
Gan ffyrnig wŷn uffernol
Colwyn, o fewn, cilio'n f' ol.
O'r barth yn cyfarth y caid,
Ail agerdd tân o'i lygaid,
Chwyrn udaw, och! oer nadu
Yn ddidor, wrth y ddor ddu.
Yno clywn swrth drymswrth dro
Goffrom, rhwng cwsg ac effro,

Bram uchel, ac ni chelaf,
Erthwch fal yr hwch ar haf,
A beichiaw, a'm bwbachai,
Ac annog ci heriog, hai!
Llemmais, â mawr ffull, ymaith
Yn brudd, wedi difudd daith,
Ac anferth gorgi nerthol,
Llwyd, yn ymysgwyd o'm ol.
Cyrraedd trwyn y clogwyni,
Perthfryn lle na'm canlyn ci,
Bwriais gyrch hyd *Abererch*,
(Llan yw hon wrth *Afon Erch*,)
Cerdded rhag ofn gweled gwyll
Grebach (na bo 'nd ei grybwyll!)
Neu gael i 'mafael â mi
Goeg Yspryd drygiawg aspri,
Torri ar draws tir i'r dref,
Ar ddidro, cyrraedd adref,
Wrthyf fy hun eiddunaw
Yn frau, i wellau rhag llaw;
Cefais o'm serch ddyferchwŷs
Oer fraw, ac nid af ar frys,
I'w chyfarch, ond arch, nid af,
Diowryd yw a dorraf,
Af unwaith i *Eifionydd*,
Unwaith? un dengwaith yn 'dydd;
Oerchwith gaeth gyflwr erchyll!
Ai *Af*, ai *Nag af* a gyll?
Bwriadu 'n un bryd a wnaf,
Ac â'r ffon y gorphenaf,

Dodaf fy ffon unionwymp,
Ar flaen ei goflaen, hi gwymp,
Aed lle 'r el, ni ddychwelaf,
Ar ol y dderwen yr af.

—o—

## AWDL Y GOFUNED,

**A ganwyd 1752, cyn gwybod pa beth oedd Awdl.**

O Chawn o'r nef y peth a grefwn,
Dyma archiad im' a erchwn,
Un rodd orwag ni ryddiriwn—o ged,
Uniawn ofuned, hyn a fynnwn.

Synhwyrfryd doeth, a chorph anfoethus,
Cael, o iawn iechyd, calon iachus;
A pheidio yno â ffwdanus—fyd
Direol bawlyd, rhy helbulus.

Dychwel i'r wlad lle bu fy nhadau,
Bwrw enwog oes, heb ry nag eisiau,
Ym *Mon* araul, a man orau—yw hon,
Llawen ei dynion, a llawn doniau.

Rhent gymhedrol, Plwyf da 'i reolau,
Tŷ îs goleufryn, twysg o lyfrau;
A gwartheg res a buchesau—i'w trin
I'r hoyw *wraig Elin* rywiog olau.

Gardd i minnau, gorau ddymuniad,
A gwasgawdwydd o wiw gysgodiad,

Tra bwy'n darllain cain acceniad—beirddion.
  Hil *Derwyddon,* hylaw adroddiad.

Ac uwch fy mhen, ym mysg canghennau,
Ber baradwysaidd lwysaidd leisiau,
Ednaint meinllais, adlais odlau—trydar
  Mwyn adar cerddgar, lafar lefau.

A thra bo'r adar mân yn canu,
Na ddeno gwasgawd ddyn i gysgu,
Cydgais â'r côr meinllais manllu,—fy nghân,
  Gwiw hoyw a diddan gyhydeddu.

Minnau a'm deulangc mwyn i'm dilyn,
Gwrandawn ar awdl, arabawdl *Robyn,*
Gan dant *Goronwy* gywreinwyn,—os daw
  I ware dwylaw ar y delyn.

Deued i Sais yr hyn a geisio,
Dwfr hoff redwyllt ofer a ffrydio
Drwy nant, a chrisiant, (a chroeso)—o chaf
  *Fon* im', yn bennaf, henwaf honno.

Ni wna f'arwyrain yn fawreiriog,
Gan goffau tlysau, gwyrthiau gwerthiog,
Tud, mŷr, mynydd, dolydd deiliog,—trysor
  Yr *India* dramor, oror eurog.

*Pab* a gâr *Rufain,* gywrain gaerau;
*Paris* i'r *Ffrancon,* dirion dyrau,
*Llundain* i *Sais,* lle nad oes eisiau—son
  Am wychder dynion; *Mon i minnau.*

Rhoed Duw im' adwedd iawnwedd yno,
A dihaint henaint na'm dihoeno,
A phlant celfyddgar a garo—eu hiaith,
  A hardd awenwaith a'u hurdduno.

—o—

## CYWYDD,

**Atteb i annerch Huw ap Huw'r Bardd, o Lwydiarth-Esgob, yn Mon, 1756.**

DARLLENAIS Awdl dra llawn serch,
Wych enwog Fardd o'ch annerch;
A didawl eich mawl im' oedd,
Didawl a gormod ydoedd.
  Ond gnawd mawl bythawl lle bo,
Rhyddaf i'r gwr a'i haeddo;
Odidog, mi nid ydwyf;
Rhyw sâl un, rhy isel wyf:
Duw a'm gwnaeth, da im' y gwnel,
Glân IESU, galon isel,
Ac ufudd fron, dirion Dad,
Ni oludd fy nwy alwad;
O farddwaith od wyf urddawl,
Poed i wau emynau mawl,
Emynau dâl am einioes,
Ac awen i'r Rhen a'i rhoes;
Gwae ddiles gywyddoliaeth,
Gwae fydd o'r awenydd waeth;
Dôg Ion, os gweinidog wyf,
Digwl y gweinidogwyf;

Os mawredd yw coledd cail,
Bagad gofalon bugail;
Atteb a fydd, rhyw ddydd rhaid,
I'r Ion am lawer enaid,
I attebol nid diboen,
Od oes barch, dwys yw y boen;
Erglyw, a chymmorth, Arglwydd,
Fy mharchus arswydus swydd;
Cofier, ar ol pob cyfarch,
Nad i ddyn y perthyn parch;
Nid yw neb ddim ond o nawdd
Un dinam Ion a'i doniawdd;
Tra'n parcher trwy ein perchen,
O cheir parch, diolch i'r Pen;
Ein Perchen iawn y parcher,
Pa glod sy'n ormod i Ner?
Parched pob byw ei orchwyl,
Heb gellwair â'i air a wyl;
A dynion ei dŷ annedd,
A'i allawr, Ior mawr a'i medd;
Dyna'r parch oll a archaf,
Duw Ion a'i gwyr, dyna gaf;
Deled i'm Ior barch dilyth,
Ond na boed i undyn byth,
Nag eiddun mwy na goddef,
Tra pharcher ein Ner o Nef;
Gwae rodres gwyr rhy hydron,
Gwae leidr a eirch glod yr Ion,
Gocheler lle clywer clod,
Llaw'n taro llau, haint *Herod.*

Ond am *Fon* hardd, dirion, deg,
Gain dudwedd, fam *Gwyndodeg*,
Achos nid oes i ochi,
Wlad hael o 'madael â mi:
Cerais fy ngwlad, geinwlad gu,
Cerais, ond ofer caru;
Dilys, Duw yw'n Didolydd,
Mawl iddo, a fynno fydd;
Dyweded ef na'm didol,
Gair o Nef a'm gyrr yn ol;
Disgwyl, a da y'm dysger,
Yn araf, a wnaf, fy Ner;
Da ddyfydd Duw i ddofion,
Disgwylied, na 'moded *Mon;*
Ac odid na cheiff gwedi,
Gan Ion, *Lewis Mon* a *mi;*
Neu ddeuwr awen ddiell,
I ganu gwawd ugain gwell.
*Lewis Mon* a *Goronwy,*
Ni bu waeth gynt hebddynt hwy;
A dilys na raid alaeth
I *Fon,* am ei meibion maeth;
Nac achos poen, nac ochi,
Na chwyn, tra parhaoch chwi;
Brodir gnawd ynddi brydydd,
Heb ganu ni bu, ni bydd.
Syllwch, feirdd, o *Gaswallon*
*Law-hir,* hyd ym *Meilir Mon:*[1]

[1] Gwalchmai Meilir.

Mae *Gwalchmai* erfai eurfawr?
Ple mae *Einion*[1] o *Fon* fawr?
Mae *Hywel*[2] *ap Gwyddeles*?
Pen prydydd, lluydd a lles;
Pen milwr, pwy un moliant?
Enwog ŵr, ac un o gant,
Iawn genaw *Owen Gwynedd*,[3]
Gwae'n gwlad a fu gweinio 'i gledd.
Bwy unfraint â'r hen *Benfras*?[4]
Gwae fe fyw, ei lyw a las.
Mae'r *Mab Cryg*[5] oedd fyg pan fu
*Ab Gwilym*[6] yn bygylu?
Dau gydgwys gymmwys gymmar,
Un wedd ag ychen yn âr.
Cafed yn *Mon* dduon ddau,
Un *Robin*[7] edlin odlau;
A *Gronwy*[8] gerddgar union,
Brydydd o *Benmynydd Mon*.
Mae *Alaw*? Mae *Caw*? Mae cant?
Mae miloedd mwy eu moliant?
Pwy a rif dywod Llifon?
Pwy rydd i lawr wyr mawr *Mon*?
Awenyddol iawn oeddynt,
Yn gynnar, medd *Ceisar* gynt.
  Adroddwch, mae'r *Derwyddon*,
Urdd mawr, a fu'n harddu *Mon*!

[1] Einion ap Gwalchmai. [2] Hywel ap Owen Gwynedd, *a general under his Father*, A. D. 1150. [3] Tywysog Cymru, [4] Madog Benfras. [5] Gruffydd Gryg. [6] Dafydd ap Gwilym. [7] Robin Ddu o Fon. [8] Goronwy Ddu o Fon.

I'r bedd yr aethant o'r byd,
Och alar, heb ddychwelyd!
Happus yw *Mon* a'i heppil,
Ag o'r iawn had, gywrain hil.
Clywaf arial i'm calon,
A'm gwythi, grym ynni *Mon;*
Craffrym, fel cefnllif cref-ffrwd,
Uwch eigion, a'r fron yn frwd,
Gorthaw donn, dig wrthyd wyf,
Llifiaint, distewch tra llefwyf;
Clyw, *Fon,* na bo goelion gau,
Nag anwir fyth o'm genau;
Gwiried Ion a egorwyf,
Dan Ner, canys dewin wyf.
[1] "Henffych well, *Fon,* dirion dir,
"Hyfrydwch pob rhyw frodir;
"Goludog, ac ail *Eden,*
"Dy sut, neu Baradwys hen:
"Gwiwddestl y'th gynnysgaeddwyd,
"Hoffder Duw Ner, a dyn wyd;
"Mirain wyt ym mysg moroedd,
"A'r dwr yn gann twr it' oedd,
"Eistedd ar orsedd eursail
"Yr wyd, ac ni welir ail,
"Ac euraid wyt bob goror,
"Arglwyddes, a meistres mor."
Gwrth y rhod trwod y traidd,
Ynysig unbenesaidd;

[1] A description of Anglesey.

Nid oes hefyd, byd a'i barn,
Gydwedd yt' *ynys gadarn,*
Am wychder, llawnder, a lles,
Mwnai 'mhob cwr o'th mynwes,
Dyffrynnoedd, glynnoedd, llannau,
Pob peth yn y toreth tau;
Bara a chaws, bir a chig,
Pysg, adar, pob pasgedig:
Dy feichiog ddeiliog ddolydd
Ffrwythlon, megis *Saron* sydd,
A phrenau dy ddyffrynoedd,
Crwm lwyth, megis *Carmel* oedd.
  Oh mor dirion, y *Fon* fau,
Dillad dy ddiadellau!
Cneifion dy ddâ gwynnion gant,
Llydain, a'th hardd ddilladant;
Dawnus wyt, dien ei sail,
Prydferth heb neb rhyw adfail,
A thudwedd bendith ydwyt,
Mawl dy Ner, aml ei dawn wyt;
Os ti a fawl, nefawl Ner,
Dilys y'th felys foler;
Dawnol fydd pawb o'th dynion,
A gwynfyd y myd ym *Mon!*
Dy eglwyswyr, deg loywsaint,
A'th leygion yn sywion saint,
Cryfion yn ffrwythau crefydd,
Fyddant, a diffuant ffydd;
Yn lle malais trais traha,
Byddi'n llawn o bob dawn da,

Purffydd, a chariad perffaith,
Ffydd, yn lle cant mallchwant maith;
Yn lle aflwydd, tramgwydd trwch,
Digon o bob rhyw degwch;
Undeb, a phob rhyw iawnder,
Caru, gogoneddu Ner;
Dy enw fydd, da iawn fod,
*Nef fechan* y Naf uchod;
"Rhifir di'n glodfawr hefyd
"Ar gyhoedd, gan bobloedd byd;
"Ac o ran maint braint a bri,
"Rhyfeddod hir a fyddi."
  Bellach f' yspryd a ballawdd,
Mi'th archaf i Naf a'i nawdd,
Gwilia rhag ofergoelion,
Rhagrith, er fy mendith, *Mon*.
Poed yt' hedd pan orweddwyf
Ym mron llawr estron lle'r wyf.
Gwae fi na chawn enwi nôd,
Ardd wen, i orwedd ynod;
Pan ganer trwmp Ion gwiwnef,
Pan gasgler holl nifer nef,
Pan fo *Mon* a'i thirionwch,
O wres fflam yn eirias fflwch,
A'i thorrog wythi arian,
A i phlwm a'i dûr yn fflam dân!
Pa lês cael lloches o'r llaid?
Duw ranno dŷ i'r enaid,
Gwiw gannaid, dŷ gogoniant
Ynghaer y *ser*, ynghôr Sant:

Ac yno 'n llafar ganu,
Eirian eu cerdd i'r Ion cu,
Poed *Gwyr Mon, a Goronwy,*
Heb allael ymadael mwy:
Cyduned a llefed llu,
*Monwysion,* Amen, Iesu.

---

## CYFIEITHIAD

O ail Awdl ANACREON, a'i dechrau yw *Φύσις κὲραλα ταύροι,* &c. 1754.

NATUR a wnaeth, iawn ytyw,
Ei rhan ar bob anian byw;
I'r cadfarch dihafarchwych,
Carnau a roes; cyrn i'r ych;
Mythder i'r ceinych mwythdew;
Daint hirion llymion i'r llew;
Rhoes i bysg nawf ym mysg myr;
I ddrywod dreiddio'r awyr;
I'r gwŷr rhoes bwyll rhagorol;
Ond plaid benywiaid bu'n ol;
Pa radau gant? Pryd a gwedd,
Digon i fenyw degwedd
Rhag cledd llachar, a tharian,
Dor yw na thyrr dur na than:
Nid yw tân a'i wyllt waneg,
Fwy nâ dim wrth fenyw dêg.

## ARALL

O'r eiddo Anacreon, sef y 19. Ἡ Γη μελαίνα πίνε, &c. 1754.

Mae 'n ddiau, myn y ddaear,
Yfed a wlych rych yr âr;
Dilys yr ŷf coed eilwaith
Y dwr a lwngc daear laith;
Awyr a lwngc môr a'i li;
Yf yr haul o fôr heli;
Ar antur, yf Lloer yntau;
Yfont, a d'unont eu dau:
Y mae'n chwith i mi na chaf
Finnau yfed a fynaf:
Gwarthus iwch ddigio wrthyf,
Nid oes dim o'r byd nad yf.

---

## ODLIG ARALL

I Anacreon, y 47. Φίλο γέροντα τερπνου 1754. Proest Cyfnewidiog.

Hoff ar Hen yw gwên a gwawd,
Bid llangc ddihadl, drwyadl droed,
Os hen an-nien a naid,
Hen yw ei ben, lledpen llwyd,
A synwyr Iau sy'n yr iad.

## EPIGRAM

**I'w dorri ar gaead Blwch Tobacco. 1755.**

CETTYN yw'n hoes, medd *Cattwg*,
Nid ŷm oll onid y mŵg.
Gan hyn, os mŵg yw'n heinioes,
Da iawn! oni chair dwy oes?
Mygyn o'r cettyn cwtta
Wnai o un oes ddwyoes dda.

## CYWYDD Y FARF. 1752.

CEFAIS gystudd i'm gruddiau,
Oer anaf oedd i'r ên fau;
Oerfyd a gair o arwfarf,
A dir boen o dorri barf;
Mae goflew im' ac aflwydd,
A llwyni blew, llai na blwydd,
Crynwydd, fal eithin crinion
Yn fargod, da bod heb hon;
Trwsa 'n difwyno traserch;
Athrywyn mwynddyn a merch;
Mynych y ffrommai meinwen
Wrth edrych ar wrych yr ên;
Difudd oedd ceisio'i dofi,
Ffei o hon, hwt! ffoi wna hi.
Caswaith (er daed cusan)
Ymdrin â merch â'm drain mân,

Briwio'i boch wrth ei llochi;
Och i'r rhawn! ac ni châr hi;
Ac aflwydd el a'r goflew,
Sofl a blyg, ond ni syfl blew;
Cas gan feinwar ei charu
O waith y farf ddiffaith ddu.
Pwnn ar ên, poen i wr yw,
Poenus i wyneb benyw;
Pleidwellt na laddai pladur,
Rhengau o nodwyddau dur:
Dreiniach, fal pigau draenog,
Hyd ên ddu, fal dannedd og;
Brasgawn, neu swp o brysgoed,
Piccellau fal cangau coed;
Ffluwch lednoeth, yn boeth na bo,
Gwyll hyllwedd, gwell ei heillio
Ag ellyn, neu lem gyllell,
Farf ddiffaith, ni bu waith well.
Ond gwell rhag y gyllell gerth,
Ennyn gwalc yn wen goelcerth;
Mindrwch gwlltr gweindrwch gwandrwm,
Dyrnwr a'i try, dwrn hwyr trwm;
Ellyn a charn cadarn coch,
Hwswi bendrom sebondroch,
Tan fy marf, ar bob arfod,
Y rhydd ei hannedwydd nôd,
Briw cyfled â lled ei llafn,
Llun osgo llaw anysgafn;
O'm grudd y rhed y rhuddwaed,
Bydd lle craf wanaf o waed,

Gwelid, o glust bwygilydd,
Ddau ben yr agen a rydd,
Hifio fy nghroen, a'm poeni,
Llwyr flin yw ei min i mi.
O mynnai Nef im' unwaith
En iach, heb na chrach na chraith,
Yn ddifrif rhown ddiofryd,
Holl hifwyr a barfwyr byd.
Rhown ddinidr iawn eidduned,
Llw diau, myn creiriau cred,
Na fynwn, i'fau wyneb,
Un ellyn noeth, na llaw neb.
Medrusaidd im' ei drawswch,
A gwynfyd yw byd y bwch,
Odid, filyn barfwyn bach,
Y gellid cael ei gallach,
A chywilydd, o choeliwch,
I ddyn na bâi ddoniau bwch:
Hortair na thybiai hurtyn
Ddawn ei Dduw 'n addwyn i ddyn.
Croesaw y farf, wiwfarf, yt,
Cras orthwf, croesaw wrthyt,
Na fid digrif yn ddifarf,
Na'i fin heb lathen o farf.
Bid pawb oll i'w harfolli,
Arfollaf a harddaf hi,
A dioddefaf, dew ddufarf,
Rhag eillio, gribinio barf.

## HYRIAD

**I'r Offeiriad o Dregaron, am ddywedyd, nad oedd ym Marwnad Ffredrig, Tywysog Cymru, nac iaith na chynganedd.**

PWY o ddig, a chenfigen,
Ry egr sydd, i roi gair sen?
*Offeiriad*, a'i frad i'w fron,
Ydyw 'r gwr o *Dregaron*,
A'i fryd trwch, a'i fwriad draw,
Afrywiog i'm difriaw;
Rhoes fal diradd, anaddwyn,
Ar fy ngherdd (mawr yw fy nghwyn)
Farn gam, a fu wirion gais,
Oer filain, o ryw falais;
D'wedai ei bod, i'w dyb wan,
Ag agwedd gerdd goeg egwan,
Yn fâs ac yn ddiflas ddòl,
A dienaid anianol;
Yn ffol, heb wybodaeth ffur,
Yn blymmaidd, yn bôl ammur:
Er bod yn hynod yn hon
Cymmaint o feiau ceimion,
Addefai na fedrai fo
(Ni weddai hyny iddo)
Ddyall erioed, ddull yr iaith,
Nag ymadrodd gwe mydriaith;
Rhaid ar frys roi gwŷs i'r gwr,
Drwy hyriad fal dewr arwr,
I roi maes, am eiriau mall,
A noeth ddur mewn iaith arall,

Dof i gâd, nid wyf ag ofn,
A *Lladin*, a bair lledofn;
Yn y wŷn af yn uniawn
I *Iaith Gryw* faith, yn gryf iawn:
Daw i'r gâd i wau ar goedd,
Modd enwog fy myddinoedd,
I ddial ni faddeuir
Llid ar faes lle daw eirf hir.
 Yn y gâd mewn iaith Ladin,
Blaenor drud, er blino 'r drin,
Bydd *Fyrsil* heb yswiliaw,
Ar farch dewr dihafarch draw,
F'â'r march dihafarch, nid ofn,
I'r rhyfel yn rhy eofn.
A'i wddf anwar fal taran,
A'i ffroenau dig fal ffwrn dân!
Ffriw adwyth gyffroedig,
Ar drwst eirf, a rhodres dig:
Llammu, brasgammu, brwysg wedd,
Yn ddiried gan gynddaredd,
Dwyn lluchynt yn dân llachar,
Naws poeth yn erbyn yspâr:
Bydd ffrom lle bo drom y drin,
A gweryrad gorerwin.
Daw *Horas* i'm diheuraw,
Yn gryf flin, ag arf i'w law,
Er d'wedyd, anhyfryd hyn,
Iddo flino, fal annyn,
A gad'el wrth ryfelu,
Hon ar faes synwyr a fu.

*Caisar*, anghymmar, ynghâd,
A'i brawychai â brochiad.
Pan ddel i ryfel yr iaith,
I ymosod â mwysiaith,
Fo ŵyr, â synwyr a son,
Nad yw'r gŵr o *Dregaron*
Yn debyg, ni raid obaith,
I *Gaisar*, ryfelgar faith,
Nesaf, teryllaf mewn trin,
*Homer* fydd, a mawr fyddin,
Daw a'i faran darandrwst,
I gad, *Iaith* Roeg, gydâ thrwst;
Clywir, a gwelir ar goedd,
Yn taranu mewn trinoedd;
Llai anfad na'i ruad rhynn,
Ydyw oergroch daeargryn!
Nesaf a ddaw draw i'r drin,
*Pindar* fydd, pen dewr fyddin,
A'i luoedd o'i gylchoedd, gant,
Hyd trinoedd y taranant,
A'u heirf hoyw yn oloywawn,
Yn gwaü fal mellt, gyflym iawn.
Pryd y del i ryfelu
I'r gâd ddwys ŵr â'r god ddu,
Ceir gwybod cyn darfod dydd,
Heb hirfaes, pwy a orfydd.

IEUAN FARDD a'i cant.

**IEUAN BRYDYDD HIR o Ddeheuparth, a brydws FARWNAD I FFREDRIG, TYWYSAWG CYMRU; ac Offeiriad Tregaron a ddywawd, Nad oedd ynddi nac iaith na chynghanedd, am hyny yr heriawdd yr Ieuan ef; a chanu o ORONWY i'r IEUAN fal hyn, 1752.**

CWYNFAN a fu o'r cynfyd,
Gan y beirdd ar goegni byd;
Tra fo llên ac awenydd,
A chân fwyn, achwyn a fydd.
Gwyfyn, du elyn dilyth
Awen, yw cenfigen fyth;
Cenfigen ac awenydd
Ym mhob llin, finfin a fydd;
O dwf llawn, dwy efell ynt,
O chredi, dwy chwaer ydynt;
Dwy na wnaed i dynnu 'n ol,
Dwy ydynt pwy a'u didol?
Ni wneir o fron anaraul
Ond cysgod, er rhod yr Haul,
A diwad ydyw, *Ieuan*,
Bron sydd na chydfydd â chân.
Wrth *Homer*, wiw gerddber, gynt,
Gwyddost mor eiddig oeddynt,
Hurtaf o ddyn a'i hortiai,
Miwail ei fydr, aml ei fai;
Gwael oedd ei gerdd, pencerdd per,
Os coeliwn *Soyl*[1] ysceler.
*Maro* a orug mowrwaith,
Bas y gwyl *Bawas*[2] y gwaith;

[1] Zoilus. [2] Bavius.

Ni pharchwyd gradd onaddun,
Mawr oedd cas *Horas* ei hun.
Er Dofydd, pwy.'n wr difai?
A fu 'rioed, na feiai rai?
Bu gylus gwaith *Mab Gwilym*,
A'i gerdd gref, agwrdd ei grym;
Pawb a'i cenfydd, o bydd bai,
A bawddyn, er na byddai;
A diau, boed gau, bid gwir,
Buan ar fardd y beiir.
E geir, heb law'r offeiriad,
Gann bron yn dwyn gwŷn a brad;
Milweis eiddig, mal Suddas,
Heb son am *Dregaron* gas.
Dos trwy glod, rhagod er hyn,
Heria bob coeg ddihiryn,
A dilyn fyth hyd elawr,
O hyd, y gelfyddyd fawr.
Od oes wŷr â drygfoes draw,
Afrywiog i'n difriaw,
Cawn yn hwyr, gan eu hwyrion,
Na roes y ddihiroes hon.

———o———

**Proest cadwynodl bogalog, a math o watworgerdd yw, ar yr hen Englyn bogalog, "O'i wiw wy i weu e a, &c."**

O'I wiw ŵy a weua e,
Ieuau o ia, ai e, yw?
Ai o au weuau a we
A'i au i wau ei we wyw?

**Yr Ieuan nid attepawdd mo'r Cywydd uchod, namyn gyrru gyda William Fychan, Esq., o Gorsygedol, ym mhen pedair blynedd, bedwar Englyn Milwr i'm hannerch i Lundain; a'r Awdl hon a gafodd yn atteb iddynt, 1756. Gwelwch y pedwar Englyn ym mhellach yn y Llyfr.**

A'M rhoddes Rheen riaidd anrheg,
Anian hynaws, asgre faws fwyndeg,
Araf iaith aserw, dichwerw chweg—awen,
  A gorau lleen, llefn *Frythoneg*,
Neut wyt gyfeillgar, car cywirdeg—ddyn,
  Neud wyf gas erlyn, gelyn gysteg.

Mi piau molawd, gwawd *Gwyndodeg*,
Gnawd i'r a folwyf fawl anhyfreg,
Haws y'm llawch hydr no chyhydreg—â mi,
  Hanbid o'm moli mawl ychwaneg.
Ceneist foliant fal nad attreg—ym hwnt,
  Dy foli, pryffwnt praff *Gymraeg*.

Wyt berchen awen ben, baun hoendeg,
Wyt ynad diwad *Deheubartheg*,
Odid hafal, hyfwyn osteg, i ti,
  Blaenawr barddoni, bri *Brythoneg*,
Gweläis ofeirdd, afar waneg,—o wŷn
  Yn malu ewyn awen hyllgreg.

Neu mi nym dorfu dyrfa ddichweg,
Beirdd dilym, dirym, dirammadeg,
Ciwed anhyfaeth, gaeth, ddigoethdeg—leis
  Sef a'u tremygeis megys gwartheg.

Gweleis feirdd cywrein, mirein, mwyndeg—lu,
  Moleis eu canu, cynnil wofeg.

Er a ryweleis, ceis cyssondeg,
Ny weleis debyg dy bert anrheg,
*Ieuan*, mwy diddan no deuddeg—wyt ym,
  Fardd erddrym, croywlym, grym grammadeg.

———o———

**Unig ferch y bardd, yr hon oedd dra anwyl gantho, a fu farw yn Walton yn Lancashire, Ebrill y 17, 1755, yn bum mis a blwydd o oed, ac yntau a gant y Farwnad hon iddi.**

MAE cystudd rhy brudd i'm bron—'rhyd f' wyneb
  Rhed afonydd heilltion;
  Collais *Elin*, liw hinon,
  Fy ngeneth oleubleth lon!

  Anwylyd, oleubryd lân,
  Angyles, gynnes ei gwên,
  Oedd euriaith mabiaith o'i min,
  Eneth liw ser (ni thal son:)
  Oedd fwyn llais, addfain ei llun,
  Afieuthus, groesawus swn,
  I'w thad, ys ymddifad ddyn!

  Ymddifad ei thad, a thwn
  Archoll yn ei friwdoll fron,
  Ynghur digysur, da gwn,
  Yn gaeth o'm hiraeth am hon.

Er pan gollais feinais fanwl,
Gnawd yw erddi ganiad awrddwl,
A meddwl am ei moddion;
Pan gofiwyf poen a gyfyd,
A dyfryd gur i'm dwyfron,
A golyth yw y galon
Erddi ac am dani 'n donn,
A saeth yw son,
Eneth union.
Am anwyl eiriau mwynion—a ddywaid,
A'i heiddil gannaid ddwylo gwynnion.
Yn iach, f' enaid, hoenwych fanon,
*Neli*, 'n iach eilwaith, lân ei chalon,
Yn iach, fy merch lwysfach lon,—f' angyles,
Gorphwys ym mynwes monwent *Walton*.
Nes hwnt dy gynnull at saint gwynnion,
Gan lef dolef dilyth genhadon;
Pan roddo'r ddaear ei gwâr gwirion,
Pan gyrcher lluoedd moroedd mawrion,
Cai, f' enaid, deg euraid goron—dithau,
A lle yngolau llu angylion.

---

## AR DDYDD CALAN,

**Dydd genedigaeth y Bardd, 1746.**

HYNT croes fu i'm hoes o hyd;—echrysawl,
A chroesach o'm mebyd;
Bawaidd fu hyn o'm bywyd,
Ond am a ddaw, baw i'r byd.

## CYWYDD Y MAEN GWERTHFAWR, 1753.

Chwilio y bum, uwch elw byd,
Wedi chwilio dychwelyd,
Chwilio am emm berdrem bur,
Maen iasbis; mwy annisbur;
Hynodol emm wenn ydoedd
Glaerbryd, a Dedwyddyd oedd.
Mae (er Naf) harddaf yw hi,
Y gemmydd a'i dwg immi?
Troswn o chawn y trysor,
Ro a main daear a môr,
Ffulliwn hyd ddau begwn byd,
O'r rhwyddaf i'w chyrhaeddyd,
Chwiliwn o chawn y dawn da,
Hyd rwndir daear *India*,
Dwyrain a phob gwlad araul,
Cyfled ag y rhed yr haul,
Hyd gyhydlwybr yr wybren,
Lle 'r â wawl holl awyr wen;
Awn yn noeth i'r cylch poethlosg,
Hynt y llym ddeheuwynt llosg;
I rynbwynt duoer enbyd
Gogledd anghyfannedd fyd,
Cyrchwn, ni ruswn, oer ôd,
Rhyn, oerfel, rhew anorfod,
A gwlad yr ia gwastadawl,
Crisian-glawdd na thawdd, na thawl.
Od awn i'r daith drymfaith draw,
Ofered im lafuriaw!

Gwledydd ormod a rodiais,
Trwy bryder ac ofer gais,
Llemdost i mi 'r bell ymdaith,
A phellaf gwaccaf y gwaith.
Chwilio ym man am dani,
Chwilio hwnt heb ei chael hi;
Nid oes dwr na dwys diredd,
Na goror ym mor a'i medd.
Da gwyr IESU, deigr eisoes
Dros fy ngran drwstan a droes,
Pond dlawd y ddihirffawd hon,
Chwilio gemm, a chael gwmmon!
Anturiais ryw hynt arall
O newydd, yn gelfydd gall,
Cynnull, (a gwael y fael fau)
Traul afraid, twrr o lyfrau,
A defnyddiau dwfn addysg,
Sophyddion dyfnion eu dysg;
Diau i'r rhai'n, o daer hawl,
Addaw maen oedd ddymunawl,
Maen â'i fudd uwchlaw rhuddaur,
Maen oedd a wnâi blwm yn aur;
Rhoent obaith ar weniaith wâg
O byst aur, â'u bost orwag,
Llai eu rhodd, yn lle rhuddaur,
Bost oedd, ac ni chawn byst aur.
Aur yn blwm trathrwm y'try,
Y mae son mai haws hynny;
Ffuant yw eu hoff faen teg,
Ffol eiriau a ffiloreg.

Deulyfr a ddaeth i'm dwylaw
Llawn ddoeth, a dau well ni ddaw,
Sywlyfr y Brenhin *Selef,*
A Llyfr pur Bennadur Nef,
Deufab y brenhin *Dafydd,*
Dau fugail, neb ail ni bydd,
Gwiwfawr oedd un am gyfoeth,
Brenhin mawr dirfawr, a doeth,
Rhi'n honnaid ar frenhinoedd,
Praff deyrn, a phen prophwyd oedd.
Ba wledd ar na bu i'w lys?
Ba wall o b'ai ewyllys?
Ba fwyniant heb ei finiaw?
Ba chwant heb rychwant o braw'?
Ar ol pob peth, pregethu,
Mor ynfyd y byd, y bu,
Gair a dd'wedai gwir ddidwyll,
Llawn yw'r byd ynfyd o dwyll,
A hafal ydyw hefyd
Oll a fedd, gwagedd i gyd.
O'i ddwys gadarn ddysgeidiaeth
Wir gall, i'm dyall y daeth,
Na chaf islaw ffurfafen
*Ddedwyddyd* ym myd emm wenn;
Ni chair yr emm hardd-ddrem hon
Ar gyrrau 'r un aur goron,
Na chap Pâb, na chwfl abad,
Na llawdr un ymerawdr mâd.
Llyna sylwedd llên *Selef,*
Daw'n ail Efengyl Duw Nef:

D'wedai un lle nad ydoedd,
A'r ail ym mha le yr oedd.
Daw i ddyn y diddanwch
Yn Nefoedd, hoff lysoedd fflwch,
Fann deg'l yn Nef fendigaid,
Tlws ar bob gorddrws a gaid,
Pob carreg sydd liwdeg lwys,
Emm wridog ym Mharadwys;
Ac yno cawn ddigonedd
Trwy rad yr *Ion* mâd a'n medd.
Duw 'n ein plith, da iawn ein plaid,
F'a 'n dwg i Nef fendigaid.
Drosom, Iachawdwr, eisoes
Rhoes ddolef, daer gref, ar groes,
Ac eiddo ef, Nef a ni,
Dduw anwyl, fa'i rhydd ini.
Molaf fy Naf yn ufudd,
Nid cant, o'm lladdant, a'm lludd,
Dyma gysur pur heb ball,
Goruwch a ddygai arall;
(Duw dy hedd) rhyfedd, er hyn,
Bodloni bydol annyn.
Boed i anghor ei sorod,
I ddi-ffydd gybydd ei gôd:
I minnau boed amynedd,
Gras, iechyd, hawddfyd, a hedd.

## CYWYDD,

**I'w gyflwyno i DYWYSAWG CYMRU, Wyl Ddewi 1753, ar y testyn sy'n canlyn, sef, Reget patriis virtutibus orbem.**

PWY ddysg im'? Pa dduwies gain?
Wir araith i arwyrain,
Gŵraf *Edlin* brenhinwawr,
Blaenllin *Cymru* fyddin fawr?
Ai rhaid awen gymmengoeg
O drum *Parnassus* gwlad *Roeg?*
Cyfarch cerddber *Bieriaid*,
Am Achles hoff-les a phlaid?
Ni cheisiaf, nid af i'w dud,
Glod o elldydd gwlad alldud,
Ofer y daith, afraid oedd,
Mwyneiddiach yw'n mynyddoedd,
Lle mae awen ddiweniaith,
Gelfydd yn mhob mynydd maith,
Na wna 'n eglur neu 'n wiwglod,
Ond da, aryglydda glod.
  Pan danwyd poenau dunych,
A braw du 'n ael *Brydain* wych,
Pan aeth FFREDRIG i drigias,
Da iawn fro, Duw Nef a'i ras,
Rhoe GYMRU hen uchenaid,
A thrwm o bob cwm y caid,
Trystlais yn atteb tristlef,
*Prydain*, ac wylofain lef,
  O'r tristwch du-oer trosti,
Nid hawdd y dihunawdd hi,

Fal meillion i hinon haf,
O rew-wynt hir oer auaf;
Iach wladwyr eilchwyl ydym,
Oll yn awr, a llawen ŷm,
Ni fu wlad o'i phennadur
Falchach ar ol garwach gur.
  Llyw o Udd drud llewaidd draw,
I ni sydd, einioes iddaw,
Udd gwrawl, haeddai gariad,
Por dewr, a ddirprwy ei Dad;
Ni bu ryfedd rinweddau,
Ym maboed erioed ar Iau,
Arwr a fydd, ddydd a ddaw,
Mawreddog, ammor iddaw!
  Hiroes i wâr *Gaisar* gu,
Di-orn oes i deyrnasu;
A phan roddo heibio hon
I gyrraedd Nefol goron,
Nefol goron gogoniant
Yn oediog, lwys enwog sant,
Poed Trydydd Sior ein Ior ni,
O rinwedd ei rieni,
Yn iawnfarn gadarn geidwad,
I'w dir, un gynneddf a'i Dad.
  Am a ddywaid maddeuant
A gais yr awen a gant.
Hyn o'ch clod mewn tafodiaith,
A dull llesg hen dywyll iaith;
Mawr rhyddid *Cymry* heddyw,
Llawen ei chân, llonwych yw,

Trwy eu miloedd tra molynt
Eu Noddwr, hoyw gampwr gynt;
Llyw diwael yn lle *Dewi*,
*IOR* mawr, wyt yn awr i ni;
Ti ydyw 'n gwarlyw gwirles,
Ti fydd ein llywydd a'n lles,
Os dy ran, wr dianhael,
A wisg y *genhinen* wael,
Prisiaf *gennin* brenhinwych
Uwch llawrydd tragywydd gwych.

——o——

## CYWYDD I'R CALAN.

(Sef dydd genediaeth y Bardd a'i Fab hynaf,) yn y flwyddyn 1752.

CYN bod gwres i'r haul tesfawr,
A gorphen ffurfafen fawr,
Difai y creawdd Dofydd
Olau teg a elwid dydd,
A Duw, gan hyfrytted oedd,
Dywedai mai da ydoedd;
Cywraint fysedd a neddair!
Gywir Ion, gwir yw ei air.
Hardd gweled y planedau,
A'u llwybr yn y gylchwybr gau;
Tremiadau tramwyedig,
A chall yn deall eu dig.
Canfod (a gwych eurddrych oedd)
Swrn nifer o ser Nefoedd,

Rhifoedd o ser (rhyfedd son!)
Crogedig uwch *Caergwydion*,
Llun y llong, a'i ddehonglyd,
Arch *NO*, a'i nawdd tra bawdd byd,
A'r tewdws, dwrr ser tidawg,
A thid nas rhifid y rhawg.
Er nifer ser y Nefoedd,
(Nifer fawr o wychder oedd,)
Ac er lloer wen ysplennydd,
Nid oes dim harddach nâ dydd,
Gwawl unwedd â goleunef,
Golau o ganwyllau nef.
Oes a wâd o sywedydd
Lle del, nad hyfryd lliw dydd?
Dra bostio hir drybestod
Mor rhyfedd rhinwedd y rhod,
Oer syganed wres Gwener
Pan el i ias orfel ser.
Duw deg lwys! da yw dy glod,
Da, Wirnaf, yw pob diwrnod,
Un radd pob dydd o naddynt,
Pob dydd fal eu gilydd gynt,
Uchder trennydd fal echdoe,
Nid uwch oedd heddyw na doe;
Nes it' draw neillduaw dydd
Dy hunan, da wahanydd,
D'ygwyl yn ol dy degwaith,
Yn gorphen ffurfafen faith;
Na chwynwn yt, Ion, chwennych
Dydd o saith, wedi 'r gwaith gwych,

Yn talmu da fu dy fod,
Sabath ni châi was hebod.
Mawr yw dy rad, wiwdad Ion.
Da oedd gael dyddiau gwylion,
Da 'r tro yt' eu gŵylio gynt,
Duw awdwr, a da ydynt;
Da dy grog ddihalogwyl,
Dy grog oedd drugarog wyl,
Er trymmed dy gur tramawr,
Penllad yw 'th gyfodiad fawr.
Da fyg dy Nadolyg, Dad,
Da iawn ydoedd d' enwaediad;
*Calan*, fy ngwyl anwyl i,
*Calan*, a gwyl Duw Celi,
Da, coeliaf, ydyw *Calan*,
A gŵyl a ddirperai gân,
Ac i'r *Calan* y canaf,
*Calan* well na huan haf!
Ar ddydd *Calan* i'm ganwyd,
*Calan*, nid anniddan wyd,
Gwaeth oedd genedigaeth *Io*,[1]
Diwrnod a gwg Duw arno,
*Calan* wyt ni 'th cwliai Naf,
Dwthwn wyt na's melldithiaf.
Nodŵyl fy oedran ydwyt,
Ugeinfed a degfed[2] wyt;
Cyflym ydd â rym yr oes,
Duw anwyl, fyrred einioes!

[1] Job. [2] 30 oed.

Diddan a fum *Galan* gynt,
A heinif dalm o honynt,
Llawn afiaeth a llon iefangc,
Ddryw bach ni chaid llonnach llangc,
Didrwst ni bu mo 'm deudroed
Ymhen un *Calan* o'm hoed,
Nes y dug chwech ar hugain
Fab ffraeth i Fardd meddfaeth main,
Er gweled, amryw *Galan*,
Gofal yn lle cynnal cân,
Parchaf anrhydeddaf di,
Tymmor nid drwg wyt immi,
Cofiaf, *Galan*, am danad,
Un dydd y'm gwnaethost yn Dad,
Gyrraist im' anrheg wiwrodd,
Calenig wyrennig rodd.
Gwiwrodd, pa raid hawddgarach
Nâ *Rhobert*, y rhodd bert bach?
Haeddit gân, nid rhodd anhardd,
Rhoi im' lân faban o fardd,
Hudol am gân, hy' ydwyt,
O bâi les gwawd, blysig wyt,
Dibrin wyf, cai dy obrwy,
Prydaf i yt' (pa raid fwy ?)
A chattwyf hir barch itti,
Wyl arab fy mab a mi.
Aed y Calendr yn hendrist,
Aed cred i ammau oed *Crist*,
Syfled pob mis o'i safle,
Ac aed â gŵyl gyd ag e,

Wyl ddifai, di gai dy gwrr,
(Ni 'm neccy almanaccwr,)
Cei fod ar dal y ddalen,
Diball it' yw dy bill hen,
Na syfl fyth yn is, ŵyl fawr,
Glŷn yno, *Galan Ionawr*;
Cyn troi pen dalen, na dwy,
Gweler enwi *gwyl Ronwy*,
A phoed yn brif ddigrifŵyl,
I'r beirdd, newydd arab ŵyl:
A bid ei phraff argraphu
Ar dalcen y ddalen ddu.
Llead helaeth, lled dwylain,
Ehangfîloch, o liw coch cain.

---

## AWDL BRIODASGERDD,

**I Elin Morys, Merch Lewis Morys, Esq., o Allt Fadog; ac, yn awr, gwraig Rhisiart Morys, o Fathafarn, 1754.**

UST! tewch oll! arwest a chân,
Gawr hai, ac orohian!
Melus molawd,
A bys a bawd,
Llon lwyswawd llawen leisiau,
Aml iawn eu gwawd, mil yn gwau,
Wawr hoywaf, orohian
A cherdd a chân.

Tros y rhiw torres yr haul
Wên bore, wyneb araul,

Mae 'n dêg min dydd,
Tawel tywydd,
O'r nentydd arien untarth,
Ni cheidw gwŷdd un o chaid gwarth;
Dwyre ddyn wenbryd eirian,
Yw 'n cerdd a'n cân.

Na âd le i gwsg yn d'ael Gwenn,
Disgleiria, dwywes glaerwen,
Feinais fwynwar,
E'th gais a'th gâr,
Dyn geirwar (dawn a gerych)
Ag e'n bâr; Gwenn wiw y bych;
I'r hoyw walch Orohîan
Yw'n cerdd a'n cân.

Na arhò hwnt yn rhy hir,
Waisg *Elin*, e'th ddisgwylir,
Dwg wisg, deg ael,
Dda-wisg ddiwael,
Dwg urael, diwyg eurwerth,
Na fo gael un o fwy gwerth,
Aur osodiad ar sidan
I'r lwys wawr lan.

Ar hyd y llawr, y wawr wŷch,
Cai irddail ffordd y cerddych,
Gwiwryf gwyros,
A rhif o'r rhos,
Da lios, deuliw ewyn
Brysia, dos, berr yw oes dyn.

Du'ch ellael, deuwch allan
Yw'n cerdd a'n can.

O chlywi, wenferch *Lewys*,
Dyre i'r Llan draw o'r llys,
Canweis cenynt,
O'th ol i'th hynt,
A llemynt â'u holl ymhwrdd,
Felly gynt fe â'u llu gwrdd
I'r Eglwys wawr rywioglan,
A'r glwys wr glân.

Wedi rhoi yn rhwydd sicrwydd serch,
I'r mwynfab, orau meinferch,
Hail i'n hoywledd,
Dwg win, deg wedd,
Dwg o auedd digynnil,
Ddogn o fedd, ddigon i fil,
A chippio pib a chwppan
Yw'n cerdd a'n cân.

Rhodder (a chler a'i haeddant)
Bwyd a gwin, be deuai gant,
I gyd ni gawn
Iechyd wych-iawn
Y ddau nwyfiawn ddyn iefangc,
O bod llawn byd da a llangc;
Gwr gwaraidd a gwraig eirian,
Pâr glwys per glan.

A fedro, rhoed drwy fodrwy
Deisen fain, dwsin neu fwy,

Merched mowrchwant,
I'w ced a'u cânt,
Dispiniant hwy does peinioel,
Rhwy maint chwant rhamant a choel,
Cysur pob gwyrf yw cusan
Yw'n cerdd a'n can.

Y nos, wrth daflu'r hosan,
Cais glol y llangcesau glân
O chwymp, a'i chael,
Eurwymp urael,
Ar ryw feinael wyrf unig,
*Gwenno* ddu ael, gwn ni ddig,
Rhynned, os syrr, ei hunan
Yn wyrf hen wann.

Yn iach cân i'r rhianedd,
Dêl i'r rhain dal wŷr a hedd,
Mae bro mwy bri
Etto itti,
Gyr weddi, gu arwyddiad,
I Dduw Tri, e ddaw it' rad,
Byd hawdd, a bywyd diddan,
A cherdd a chân.

Dod i'th wr blant, mwyniant mawr,
Dod wyrion i'th dad, eurwawr,
A he o hîl
Happus heppil
Dieiddil, Duw a wyddiad,
Ie, gan mil, egin mad;

Llaw Duw iddynt, llu diddan,
Hil glwys hael glân.

Gyrr sin i wann gresynol,
I Dduw a wnair, a ddaw'n ol,
Afiaith ofer
Y sydd îs ser;
Goreu arfer gwawr eurfain,
Moli dy Ner mal dy nain.
Gwiwnef it' hwnt, gwynfyd da,
*Amen* yma.

---

## ENGLYN A SAIN GUDD YNDDO.

Pwy estyn biccyn i bwll—trybola,
Tra bo i'w elw ddeuswllt?
Trasyth fydd perchen triswllt,
Boed sych a arbedo swllt.

---

## CYWYDD I OFYN FFRANCOD,

GAN WILLIAM FYCHAN, ESQ., O GORS-Y-GEDOL, A NANNAU,
1754.

Y Gwr addwyn, goreuddeddf,
Ni wn wr oll yn un reddf,
Gŵr ydych gorau adwaen,
Och! ble y cair un o'ch blaen?
Yn ail i chwi ni welais,
Naws hael, o *Gymro* na *Sais*,

Gwr od, (Ysgwier) ydych
Ar bawb, a phoed hir y bych.
Ym *Meirion* lwys, am roi'n lan
Haelaf achau hil FYCHAN,
Hael yn unwedd, hil *Nannau*,
Dau enwog hil dinaghau,
Hil glân, a ŵyr heiliaw gwledd,
Blaeniaid ar holl bobl WYNEDD?
O chyrchent, rhoech i eirchiaid
Ddawn a rhodd ddien i'w rhaid,
Ni bu nag i neb yn ol,
Na gwâd o *Gors-y-gedol*,
Gwir ys! henwi'r *Gors* honno
Yn *Gedol*, freyrol fro,
*Cors* roddfawr, o bwyf awr byw,
Un *gedol* ddinag ydyw,
Gras a hedd yn y *Gors* hon,
Lle hiliwyd llu o haelion!
Yn y dir rwy 'n ymddiried,
A gwn y cair ynddi ged,
A ched a archaf i chwi,
A rhwydd y bych i'w rhoddi.
  Ior mau, os wyf o rym sal,
Dyn ydwyf dianwadal,
O serchog, dylwythog lin,
Dibrinnaf ddeiliaid brenhin,
Ail llanw môr yw y llin mau,
Ceraint i mi 'mhob cyrrau,
Ym *Mon* a *Llannerch-y-medd*,
A *Llyn*, a thrwy holl *Wynedd*

Yn llinyn yno llanwent,
Happus gylch *Powys* a *Gwent*,
Diadell trwy 'r *Deaudir*,
(Rhaid oedd) a thrwy bob rhyw dir.
Ein hynaif iawn wahenynt
Bedair rhan o'r byd ar hynt,
Dwy oludog, dew, lydan,
(Duw Ion a ŵyr) a dwy 'n wann,
O gyfan bedair rhan byd,
Dwyran i mi y deiryd,
Ac aml un yn dymunaw
(Waethaf o'u llin!) waith fy llaw,
A rhwydd wyf i'r rhiaidd yrr
Llwythawg i yrru llythyr,
Ond na fedd dŷn (libyn lu
Diles!) mo'r modd i dalu.
  Gwyn ei fyd egwan a fedd
Wr o synwyr o'r Senedd,
A'i dygai 'n landdyn digost!
I selio *Ffrangc*, ddisalw ffrost!
Minnau, fy mawr ddymuniad
Yw cael gan wr hael, yn rhad,
*Ffrangcod* eglur *Mur Meirion*,
O ran mael i *Ronwy Mon*.
  Hefyd nid Ffrangc anhyfaeth.
Dŷn o dir *Ffraingc*, dwndwr ffraeth;
O'r rhwyddaf i'm y rhoddech
O'r lladron chwidron naw chweeh,
Er mai gormodd, wr noddawl,
Yw rhif deg rhof fi a diawl,

Deuddeg o chaf ni'm diddawr,
Ni'ch difwyn y gwr mwyn mawr,
Hyny dâl (heb ry sal bris)
Lawer o Ffrangcod *Lewis*.[1]

—o—

## ENGLYNION

**I ofyn cosyn llaeth-geifr gan William Gruffudd o Ddrws-y-coed yn Eifionydd, tros Domas Huws, mab Huw ab Ifan, o Lanndygai, oedd yn was yn Liverpool, neu Nerpwl, 1754.**

Dynyn wyf, a adwaenoch—er ennyd,
A yrr annerch attoch ;
Rhad a hedd ar y feddoch
I'ch byw, a phoed iach y bo'ch.

I chwi mae, i'ch cae, uwch cyll,
Geifr, hyfrod, bychod, heb wall,
Llawer mynnyn, milyn mwll,
Rhad rhwydd a llwydd ar bob llill.

Mae iwch gaws liaws ar led—eich annedd,
A'ch enwyn cyn amled ;
Y mwynwr er dymuned,
Rhowch i'm gryn gosyn o ged.

Cosyn heb un defnyn dwfr,
Cosyn ar wedd piccyn pefr,
Cosyn o waith gwrach laith loffr
Cosyn o flith gofrith gafr.

[1] Brenin Ffrainge.

Blysig, anniddig ei nâd,—yw meistres,
A mwstro mae 'n wastad;
Ni fyn mwy un arlwyad,
Na gwledd ond o gaws ein gwlad.

Myn *Mair*, onis cair y caws
Ar fyr, y gwr difyr dwys,
Ni bydd swydd, na boddio *Sais*,
Na dim mwy hedd i *Dwm Huws*.

Os melyn gosyn a gaf,—nid uñwaith
Am dano diolchaf;
Milwaith, wr mwyn, y'ch molaf,
Hau'ch clod ar bob nod a wnaf.

—o—

## CYWYDD,

**Marwnad Margred Morys, Gwraig Morys-ap-Rhisiart-Morys, o Bentre Eiriannell ym Mon, 1752.**

Mawr alar, trwm oer wylaw,
A mann drist sydd yn *Mon* draw,
Tristyd ac oerfryd garwfrwyn,
Llwyr brudd, a chystudd a chŵyn;
Tristaf mann *Pentre'riannell*,
Ni fu gynt un a fa'i gwell,
Ni fu chwerwach tristach tro
I *Fon*, nag a fu yno.
Lle bu ddien lawenydd,
Ubain a dwys ochain sydd;

Digroyw lif, deigr wylofain,
Am *Farged* y rhed y rhai'n,
Didaw am *Farged* ydynt,
*Marged* law egored gynt;
Bid happus haelionus law,
Ffrawddus i fil ei phriddaw!
Rhy fawr sann ar *Forys* yw,
Oer adwyth i'w gŵr ydyw,
Deuddyn un enaid oeddynt,
Dau ffyddlon, un galon gynt,
Mâd enaid! chwith am dani,
A phrudd hwn o'i phriddo hi,
Ac o'i herwydd dwg hiraeth
Ormod, ni fu weddwdod waeth!
 Toliant ar lawer teulu
Ar led, am *Farged* a fu,
Ymddifaid a gweiniaid gant
Ychenawg, a achwynant
Faint eu harcholl, a'u colled,
Farw gwraig hael, lle bu cael ced.
Llawer cantorth o borthiant
Roe hon, lle bâi lymion blant;
Can hen a ddianghenodd,
I'r un ni bu nag o rodd;
Gwiw rodd er mwyn goreudduw,
Gynes weinidoges Duw.
Gwraig ddigymar oedd *Marged*
I'w plith am ddigyrrith ged,
A ched ddirwgnach ydoedd,
Parod, heb ei dannod oedd.

Di ball, yn ol ei gallu,
Rhwydd a chyfarwydd a fu,
Rhyfedd i'w chyrredd o chaid
Ing o unrhyw angenrhaid;
Rhoe wrth raid gyfraid i gant,
Esmwythai glwyfus methiant,
Am gyngor Doctor nid aeth
Gweiniaid, na meddyginiaeth,
Dilys, lle bai raid eli,
Fe'i caid; nef i'w henaid hi.
Aed i nef a thangnefedd,
Llawenfyd hawddfyd a hedd,
Nid aeth mâd, wraig deimladwy,
O'n plith a gadd fendith fwy:
Bendith am ddiragrith rodd,
Hoff enaid! da y ffynnodd;
Os oes rhinwedd ar weddi,
Ffynnu wna mil o'i hil hi.
Pa lwysach heppil eisoes?
Ei theulu sy'n harddu'n hoes?
Tri mab doethion tirionhael,
(Mawr ei chlod) merch olau hael,
Trimab o ddoniau tramawr,
Doethfryd a chelfyddyd fawr;
Lewis[1] wiwddysg, lwys addwyn,
Athraw y gerdd fangaw fwyn,
Diwyd warcheidwad awen,
Orau gwaith a *Chymraeg* wen.

[1] **Bardd godidog, ac Ieithydd.**

Rhisiart am gerdd ber hoywsain,
Hafal ni fedd *Gwynedd* gain;
Annhebyg tra bo 'n hybarch
Y *Beibl*[1] na bydd iddo barch.
Allai fod (felly ei fam)
Deilen na nodai Wiliam?[2]
Chwiliai ef yr uchelion,
Y mor, a thir, am wyrth Ion;
Tradoeth pob brawd o'r tridyn,
Doeth, hyd y gall deall dyn:
Tri gŵraidd frawd rhagorawl,
Haeddant, er na fynant fawl.
Da'r had na newid eu rhyw,
D'wedant, ym *Mon*, nad ydyw
Cynneddfau, doniau dinam
Elin, ei merch, lai na'i mam.
Da iawn fam! diau na fu
Hwnt haelach perchen teulu,
Rhydda i'r byd ynfyd oedd,
Iawn i fod yn nef ydoedd;
Aeth i gartref nef a'i nawdd,
Duw Iesu a'i dewisawdd;
Uniawn y farn a wna fo,
Duw Funer, gwnaed a fyno.
Dewisaf, gan Naf, i ni
Oedd ddeisyf iddi oesi,
Hir oesi, cael hwyr wŷsiad
Adref i oleunef wlad.

[1] Golygwr dau argraffiad o'r Bibl, 1746, a 1752.
[2] Llysieuwr digymmar.

Gwae 'r byd o'r ennyd yr aeth!
Oer bryd oedd ar Brydyddiaeth;
Achles i wenn awen oedd,
A nesaf i'r hen oesoedd,
Cynnes i feirdd tra cenynt,
Oedd canu ffordd *Gymru* gynt,
Cael braint cân, o ddadanhudd,
A chler, er yn amser *Nudd.*
Boed heddwch a byd diddan
Byth it', ti a gerit gan;
Ac yna 'n entrych gwiwnef,
Cydfydd a cherdd newydd nef;
Ni'th ludd cur, llafur na llid,
Da, yn Nuw, yw dy newid,
Newidio cân, (enaid cu!)
*Monwysion,* am un IESU:
Clywed llef y Côr nefawl,
(Gwyn dy fyd! hyfryd dy hawl!)
Lleisiau mowrgerth llesmeirgerdd
Côr y saint, cywraint eu cerdd,
Cu eu hodlau! cyhydlef,
Gwynnion delynorion nef;
Canllef dwsmel tra melys,
Fal gwin ar bob ewin bys.
Dedwydd o enaid ydwyt,
Llaw Dduw a'n dycco lle'dd wyt.
A'n hannedd, da iawn honno,
*Amen,* yn nef wen a fo.

## ENGLYNION I DDUW.

**A ganwyd ychydig cyn myned i Rydychen, 1741.**

Duw Tad, un (o'th rad) a thri,—Duw anwyl,
Daionus dy berchi;
Duw unig y daioni,
Clau yw fy nghred, clyw fy nghri.

Dy eiriau, Ion clau, clywais,—yn addo
Noddi pawb a'th ymgais;
Ymagored (mi gurais)
Y Nef wrth fy llef am llais.

Gellaist (i'th nerthog allu—nid yw boen)
Wneud y byd a'i brynu,
Yn D'wysog, un Duw Iesu,
Ti sydd, ti fydd, ti a fu.

Da gwyddost wrando gweddi—dy weision,
Dewisaist eu noddi;
A minnau wyf, o mynni,
Duw Iesu dêg, dy was di.

Gwaelaidd gynt yn bugeilio—yw *Moesen*
Ym maesydd hen *Jethro;*
Di roddaist hyder iddo,
A braint, a rheolaeth bro.

A'r *Salmydd,* cynnydd Duw cu,—cof ydyw,
Cyfodaist i fynu,
O fugail, heb ryfygu,
Aeth *Dafydd* yn llywydd llu.

Minnau, Duw Nef, o mynni,—anherchaf,
Hyn o archiad iti;
Bod yn fugail cail Celi;
A doed im' dy eglwys di.

Ni cheisiaf gan Naf o Nefoedd—gyfoeth,
Na gofal brenhinoedd;
Ond arail ŵyn ei diroedd,
Duw a'i gwnel, a digon oedd.
*(A bendigaid fo'i enw, fe'i gwnaeth.)*

---

## ARWYRAIN Y NENNAWR,

**A wnaed yn Llundain, 1755.—The Garret Poem.**

Croesaw i'm diginiaw gell,
Gras Dofydd! gorau 'sdafell;
Golygle a gwawl eglur,
Derchafiad Offeiriad ffur.
Lletty i fardd gwell yttwyd
Nâ 'r twrdd wrth y bwrdd a'r bwyd,
Mwy dy rin, am ddoethineb,
Nâ gwahadd i neuadd neb:
Hanpwyf foddlon o honod,
Fur calch, ond wyf falch dy fod?
Diau mai gwell y gell gu,
Ymogel nâ 'th ddirmygu,
Nid oes, namyn difoes, da
Was taer, a'th ddiystyra;
Ai diystyr lle distaw
Wrth grochlef yr holl dref draw?

Lle mae dadwrdd gwrdd geirddadl
Rhwng putteiniaid a haid hadl,
Torfoedd ynfyd eu terfysg,
Un carp hwnt yn crio pysg,
Tro arall, Howtra hora!
Crio pys, ffigys, neu ffa,
Gwich ben, â trwy 'r ymennydd,
Dwl dwrf, trwy gydol y dydd;
Trystiau holl *Lundain* trosti,
A'i chreg waedd ni charai gi.
Os difwyn (gwae ddi'stafell!)
Clywed, nid oes gweled gwell,
Gweled ynfyd glud anferth
O'r wâr a fynnych ar werth,
Gwên y gŵr llys, yspys oedd,
Eddewidiwr hawdd ydoedd;
Cledd y milwr arwrwas,
Dwndwr yr eglwyswr glas,
Cyngor diffeith cyfreithwr,
Trwyth y meddyg, edmyg wr;
Diod gadarn tafarnwas,
Rhyw saig gan ei frwysgwraig fras;
Rhad werthir pob rhaid wrthaw,
Corph, enaid, llygaid, a llaw:
Ond na cheir (gan ddiweirdeb)
Prisiau am eneidiau neb,
Ond enaid annudonwr,
A'i chware ffals, a choph hŵr.
  Dyna 'r gair yn eu ffair ffol,
Dedwydd im' gell a'm didol,

Tua 'r nenn uwch eu pennau,
Ammor it', ymogor mau!
Per awen i nenn a naid,
Boed tanodd i butteiniaid.
Tra fo 'm cell i'm castellu,
Ni 'm dawr a fo i lawr o lu;
Ni ddoraf neuadd arall,
Ni chlywaf, ni welaf wall;
Heddyw pond da fy haddef?
A noeth i holl ddoniau Nef?
Gwelaf waith Ion, dirion Dad,
Gloyw awyr a goleuad,
A gwiwfaint fy holl gyfoeth,
Yw lleufer dydd, a llyfr doeth,
A phen na ffolai benyw,
Calon iach a chorph bach byw,
Deuryw feddwl di orwag,
A pharhaus gof, a phwrs gwag,
A lle i'm pen tan nennawr,
Ryw fath, drichwe' llath, uwch llawr.

---

## ATTEB,

**I GYWYDD Huw Huws, y Bardd Coch, o Lwydiarth-Esgob ym Mon, a ganwyd yn Walton yn Lancashire, 1753.**

Paham i fardd dinam doeth,
Pergerdd, celfyddgar, purgoeth,
Ofyn cân a chynghanedd
Gan ddigrain was main nas medd?

Duw Nef a ŵyr, dyn wyf fi
Dirymiant, Duw 'n dwr imi,
Dieithryn, adyn ydwyf,
Gwae fi o'r sud! alldud wyf.
Pell wyf o wlad fy nhadau,
O'ch son! ac o *Fon* gu fau,
Y lle bum yn gware gynt
Mae dynion na 'm hadwaenynt;
Cyfaill neu ddau a'm cofiant,
Prin ddau, lle 'r oedd gynnau gant.
Dyn didol dinod ydwyf,
Ac i dir *Mon* estron wyf,
Dieithr i'n hiaith hydriaith hen,
Dieithr i berwawd awen,
Gofidus, gwae fi! ydwyf
Wrth son, a hiraethus wyf;
Gan athrist frondrist fraendroch,
Ni chyngan hoyw gân ag och,
Mewn canu namyn cwynaw,
Ni chytgais na llais na llaw.
Pobl anwar *Pabyloniaid*,
Dreiswyr blin, draws arw blaid,
O'u gwledydd tra dygludynt
Wyr *Seion* yn gaethion gynt,
Taergoeg oedd eu gwatworgerdd,
Moeswch (ac nac oedwch) gerdd.
Gwae ni o'r byd dybryd hwn
(Cwynent) [1] "Pa fodd y canwn,

[1]Gwel Salm 37. 3—6.

"Gerdd Ion mewn tir estronol,
"A'n mâd anwylwlad yn ol?
"Ni bu (dref sorth tan orthrech)
"Fy nhrem, am *Gaersalem,* sech;
"Os hawdd yr anghofiais hi,
"Del ammorth yn dâl immi,
"Anhwylied fy neheulaw,
"Parlys ar bob drygfys draw,
"A'm tafod ffals gwammalsyth,
"Fferred yn sych baeled byth."
Llyna ddiwael *Israeliad!*
Anwyl oedd i hwn ei wlad,
Daear *Mon,* dir i minnau,
Yw, o chaf ffun, i'w choffau,
Mawr fy nghwynfan am dani,
Mal *Seion* yw *Mon* i mi;
O f' einioes, ni chaf fwyniant
Heb *Fon,* er na thôn na thant,
Nid oes trysor a ddorwn,
Na byd da 'n y bywyd hwn,
Na dail llwyn, na dillynion,
Na byw hwy, oni bâi hon.
Troi yma wnaf, tra myn Ner,
O'm hedfa, oni 'm hadfer,
Duw Nefol a'm deoles,
Duw 'n rhwydd im', a llwydd, a lles,
CRIST D'wysog, enneiniog Nef,
Cedrŵydd, a'm dycco adref.

## CYWYDD Y GWAHAWDD,

**Sent from Northolt, Middlesex, to Mr. William Parry, Deputy-Comptroller of the Mint, 1755.**

PARRI, fy nghyfaill puraf,
Dyn wyt a garodd Duw Naf,
A gwr wyt, y mwynwr mau,
Gwir fwyn, a garaf finnau;
A thi 'n *Llundain,* wr cain cu,
Ond gwirion iawn dy garu?
Ond tost y didoliad hwn?
Gorau fai pe na 'th garwn.
　　Dithau ni fynni deithiaw
O dref hyd yn *Northol* draw,
I gael cân (beth diddanach?)
A rhodio gardd y bardd bach;
Ond dy swydd hyd y flwyddyn,
Yw troi o gylch y *Twr gwynn,*
A thorri, bathu arian,
Sylltau a dimmeiau mân,
Dod i'th Fint, na fydd grintach,
Wyliau am fis, *Wilym* fach,
Dyfydd o fangre 'r dufwg,
Gad, er nef, y dref a'i drwg;
Dyred, er daed arian,
Ac os gwnai, ti a gai gân,
Diod o ddwr, doed a ddel,
A Chywydd, ac iach awel,
A chroeso calon onest,
Ddiddichell, pa raid gwell gwest?

Addawaf (pam na ddeui ?)
Ychwaneg, ddyn teg, i ti,
Ceir profi cwrw y prif-fardd,
A 'mgomio wrth rodio 'r ardd;
Cawn nodi, o'n cain adail,
Gwyrth Duw mewn rhagorwaith dail,
A diau pob blodeuyn
A yspys ddengys i ddyn,
Ddirfawr ddyfnderoedd arfaeth,
Diegwan Ior, Duw a'i gwnaeth.
Blodau 'n aurdeganau gant,
Rhai gwynnion mawr ogoniant;
Hardded wyt ti, 'r lili lân !
Lliw 'r eira, uwch llaw'r arian,
Cofier it' guro cyfoeth
*Selyf*, y sidanbryf doeth.
  Llyna, fy nghyfaill anwyl,
Ddifai gwers i ddof a gwyl;
Diffrwyth fân flodau 'r dyffryn,
A dawl wag orfoledd dyn ;
Hafal blodeuyn hefyd
I'n hoen ferr yn hyn o fyd,
Hyddestl blodeuyn heddyw,
Y fory oll yn farw wyw;
Diwedd sydd i flodeuyn,
Ac unwedd fydd diwedd dyn ;
Gnawd i ardd, ped fai 'r harddaf,
Edwi, 'n ol dihoeni haf.
Tyred rhag troad y rhod,
Henu mae 'r blodau hynod;

Er passio 'r ddau gynhauaf,
Mae 'r hin fal ardymyr haf,
A'r ardd yn o hardd ddihaint,
A'r hin yn trechu 'r henaint,
A'i gwyrddail yn deg irdda
Etto, ond heneiddio wna,
Mae 'n gwywo, 'min y gauaf,
Y Rhos, a holl falchder haf,
Y Rhos, heneiddiodd y rhai'n,
A henu wnawn ni 'n hunain;
Ond cyn bedd, dyma 'ngweddi,
(Amen, dywed gyd a mi)
Dybid i'n ddyddiau diboen,
A dihaint henaint o hoen,
Myn'd yn ol, cyn marwolaeth,
I *Fon*, ein cyssefin faeth;
Diddan a fyddo 'n dyddiau
Yn unol, ddiddidol ddau,
A'r dydd (Duw ro amser da,)
Y derfydd ein cyd-yrfa,
CRIST yn Nef a'n cartrefo,
Wyn fyd! a phoed hyny fo.

## CYWYDD I'R CALAN,

**Yn y flwyddyn 1755, pan oedd glaf y BARDD yn Walton.**

Ow hen Galan, hoen gwyliau,
Cychwynbryd fy mywyd mau,
Ond diddan im' gynt oeddit
Yn *Ionor?* Hawdd ammor it'!

Os bu lawen fy ngeni,
Ond teg addef hyn i ti?
Gennyt y cefais gynnydd
I weled awr o liw dydd,
Pa ddydd a roes im' oesi,
Trwy rad Ion ein Tad, ond ti?
Adrodd pob blwydd o'm hoedran,
O ddiwyd rif, oedd dy ran,
A gwelwyd, ben pob gwyliau,
Mai tycio wnaeth y maeth mau,
Er yn faban gwan gweccry,
Hyd yn iefangc hoglangc hy',
O ddïofal hydd iefangc
Yn wr ffraw, goruwch llaw llangc,
Ac ar *Galan* (yn anad
Un dydd) bum o wr, yn dad:
Finnau ni bum yn f' einioes
Etto 'n fyrr, it' o iawn foes,
Melys im' ydoedd moli,
A thramawrhau d' wyrthiau di,
Ac eilio iti, Galan,
Ryw gelfydd gywydd neu gân.
  Dy gywyddau da gweddynt
A'th fawl, buost gedawl gynt;
Weithion paham yr aethost,
Er Duw, wrthyf i mor dost?
Rhoddaist i'm ddyrnod rhyddwys
O boen, a gwae fi o'i bwys,
Mennaist o fewn fy mynwes
A chlefyd o gryd a gwres,

A durwayw 'r poethgryd eirias,
Ynglŷn â phigyn a phâs.
A'i o ddig lid ydd wy' glaf
(Bernwch) ai cudeb arnaf?
Od yw serch, nawdd Duw o'i swm!
Ai cudeb yw rhoi codwm
A chystudd di fudd i f'ais,
I'm gwanu am a genais?
Ar hwrdd os dy gwrdd a gaf
Eilchwyl, mi a ddiolchaf.
Ni chaf amser i 'mdderru,
Diengaist yn rhydd, y dydd du,
Rhedaist (fal llu rhuadwy
I'r môr) ac ni 'th weler mwy,
A dygaist ddryll diwegi,
Heb air son, o'm byrroes i;
Difwynaist flodau f' einioes,
Bellach pand yw fyrrach f' oes?
O Galan hwnt i'w gilydd,
Angau yn nesau y sydd,
Gwnelwyf a Nef dangnefedd
Yn f'oes, fel nad ofnwyf fedd;
A phoed hedd cyn fy medd mau,
Faith ddwthwn rhof a thithau;
Dy gyfenw ni ddifenwaf,
Os ei gwrdd yn f' oes a gaf,
Ni thaeraf annoeth eiriau,
Gam gwl, er fy mygwl mau.
Bawaidd os hyn o'm bywyd,
Rhwy fu 'r bai rhof fi a'r byd;

Addefer di yn ddifai,
Rhof fi a'r byd rhwy fu 'r bai.
Duw gwynn a'm diwygio i,
A chymmod heddwch immi
A ddel, cyn dy ddychwelyd,
A llai fyddo bai y byd;
Yno daw gwyliau llawen
I mi, ac i bawb. *Amen.*

---

## ENGLYN I JOHN DEAN,

**Y Llongwr melynaf yn y deyrnas yma, 1754.**

Moliant am bob peth melyn,—am yr haul,
A merhelyg dyfrllyn;
Am *Sion Den,*[1] a chwyr gwenyn,
A mad aur, pettai 'maw dyn.

---

## MARWNAD

**I'r elusengar a'r anhepgor wrda, Mr. John Owen, o'r Plas yng Ngheidio, yn Lleyn, 1754.**

**1. Unodl Union.**

Gwae *Nefyn!* gwae *Lyn* gul wedd!—gwae *Geidio!*
Gwae i giwdawd Gwynedd!
Gwae oer farw gwr o fawredd!
Llwyr wae! ac y mae ym medd!

**2. Proest Cyfnewidiog.**

Achwyn mawr, och ynn y modd!
Nid ael sech ond wylo sydd,

[1] John Dean, rhyw lyffant o Sais melyn.

Gwayw yw i bawb gau y bedd
Ar *Sion Owen* berchen budd.

**3. Proest Cadwynog.**

Cadd ei wraig bêr drymder draw,
Am ei gwaraidd lariaidd lyw;
A'i blant hefyd frwynfryd fraw,
Odid un fath dad yn fyw.

**4. Unodl Grwcca.**

Mawr gwynaw y mae'r gweinion,
Gwae oll y sut golli *Sion*:
Ni bu rwyddach neb o'i roddion,—diwg,
Diledwg i dlodion.

**5. Unodl Gyrch.**

Llyw gwaraidd, llaw egored,
Rhwydd a gwiw y rhoddai ged;
Mwynwych oedd (y mae'n chwith!)
Digyrrith da ei giried.

**6. Cywydd Deuair hirion.**

Gwrda na phrisiai gardawd,
Ond o les a wnai i dlawd;

**7. Cywydd Deuair fyrrion,—8. Awdl Gywydd,—9. Cywydd Llosgyrnawg, a—10. Thoddaid ynghyd.**

Ni bu neb wr,
Rhwyddach rhoddwr:
A mawr iawn saeth ym mron *Sion*,
Cri a chwynion croch wannwr.

Llawer teulu (llwyr eu toliant,
A'u gwall!) eusus a gollasant,
Syn addiant! *Sion* i'w noddi.
Bu ŷd i'w plith, a bwyd i'w plant,—eu rhaid
Hyd oni ailgaid yn y weilgi.

11. **Gwawdodyn byr.**

*Sion* o burchwant (os un) a berchid,
Synwyr goreu, *Sion* wâr a gerid,
*Sion* a felus iawn folid:—pan hunodd
*Sion Owen* gufodd, syn yw'n gofid.

12. **Gwawdodyn hir.**

Chwychwi y gweiniaid, och eich geni!
A marw'ch triniwr, mawr yw'ch trueni!
Pwy rydd luniaeth (pa rodd y leni!)
Yn ail i *Sion* iawn eluseni?
Oer bod achos i'r byd ochi:—nis daw,
Er gofidiaw awr i gyfodi.

13. **Byr a Thoddaid.**

Ar hyd ei fywyd o'i fodd,—iawn haelwas,
　　Yn helaeth y rhannodd,
　　A'i Dduw eilwaith, a addolodd,
　　Wiw baun dethol, a'i bendithiodd;
　　Diwall oedd, a da y llwyddodd,
　　Am elw ciried mil a'i carodd,
Hap llesol, pwy a'i llysodd?—Duw un-tri,
　　Ei Geli a'i galwodd.

14. **Hir a Thoddaid.**

Wiwddyn cariadus, i Dduw Ion credodd,
Hoff oedd i'w Geidwad, a'i ffydd a gadwodd,

O'i orchymyn, i wyraw o chwimiodd,
Da fu y rheol, edifarhaodd,
Ym marwolaeth, e 'moralwodd—â'i Ner,
A Duw, orau Byw-ner a'i derbyniodd.

15. Huppynt byr.

Os tra pherchid
O mawr eurid } am arwredd,
Deufwy cerid
Mwy yr enwid } am ei rinwedd.

16. Huppynt hir.

Am ei roddion,
A'i 'madroddion,
Hoyw wr cyfion, } hir y cofier:
Ei blant grasol,
Gan Dduw nefol,
Fwyn had ethol, } a fendithier.

17. Cyhydedd fer.

Cu hil hynaws, cael o honynt,
Duw'n dedwyddwch, di'n Dad iddynt;
Yn ymddifaid na 'moddefynt
Gyrchau trawsder gwarchod trostynt.

18. Cyhydedd hir.

I'w gain fain fwynhael briod, hyglod hael,
Duw tirionhael, dod ti hir einioes;
Rhad ddifrad ddwyfron, amledd hedd i hon,
I hwylio 'i phurion hil hoff eirioes.

19. Cyhydedd 9 ban.

Am a wna *Wiliam* mwy na wyled,
Diwyd haelioni ei dad dilyned;
A digasfeiriau da gysured,
Och a mawrgwyn ei chwaer *Marged.*

20. Clogyrnach.

Os rhai geirwir sy wŷr gorau,
I fyd saint e fudes yntau;
Draw, ddifraw ddwyfron,
I fâd lwysgad lon
Angylion yngolau.

21. Cyrch a Chwtta.

Yn wych byth, ddinych y bo,
Yn iach wiwddyn (och!) iddo
Mae hi'n drist am hyn o dro,
Wir odiaeth wr ei ado;
Ni wiw i ddyn waeddi, O!
Och! *war Owen*! a chrïo,
Dal yn ei waith, dilyn ef,
I'r wiwnef, fe'i ceir yno.

22. Gorchest y Beirdd.

Nid oes, Ion Dad,
Na'n hoes, na'n had, } na maws mwyn;
Na moes na mâd,

Dy hedd, Duw hael,
Main fedd mae 'n fael, } e gudd gŵyn.
A gwedd ei gael.

**23. Cadwyn fyr.**

Yn iach wrol oen awch araf,
I'r hygaraf wr rhagorol;
Ef i'w faenol a fu fwynaf,
Un diddanaf enaid ddoniol.

**24. Tawddgyrch Cadwynog, o'r hen ddull gywraint, fel y canai'r hen Feirdd; ac ynddo mae godidowgrwydd gorchestwaith, a chadwyn ddidor trwyddo.**

Dolur rhy drwm! dramawr benyd,
Boenau dybryd, ebrwydd ddidol:
Dwl *Llyn* a llwm, llai mael *Gwyndyd*,
Gan doi gweryd gwr rhagorol:
Dirfawr adfyd, odfa ddyfryd,
Ddifrif oergryd, fyd anfadol:
Dygn i'w edryd, adrodd ennyd,
Ddwyn eu gwynfyd cyd, un cedol.

**Arall o'r ddull newydd drwsgl, ar y groes gynghanedd, heb nemawr o gadwyn ynddo, ac nid yw'r fath yma amgen na rhyw fath ar gadwyn fyr gyfochr, a huppynt hir ynglyh â'u gilydd.**

Doluriasant, dwl oer eisiau
Ei rinweddau, wr iawn noddol,
Llai eu ffyniant oll i'w ffiniau
Heb ei radau bu waredol:
Cofiwn ninnau ddilyn llwybrau
Ei dda foddau, oedd wiw fuddiol:
Cawn, fal yntau, i'n heneidiau,
Unrhyw gaerau, Oen rhagorol.

## CYWYDD AR WYL DDEWI, 1755,

**I'w gyflwyno i'w Frenhinol Uchelder FFREDRIG Tywysawg Cymru, gan yr urddasol Gymdeithas o GYMMRODORION yn Llundain.**

GLYW digamrwysg *gwlad Gymru*,
A'i chynydd, Llywydd ei llu;
Por odiaeth holl dir *Prydain*,
Penteulu hen *Gymru* gain:
Llyw unig ein llawenydd,
Mwy cu in' ni bu ni bydd.
Eich annerch rhoddwch inni,
Ior glân, a chyngan â chwi;
Gwaraidd fych, Dwysawg eirioes,
Wrth ein gwâr ufuddgar foes.
Dychwelawdd (dan nawdd Duw Naf)
Dyddwaith, in' o'r dedwyddaf,
Diwrnod (poed hedd Duw arnynt)
Na fu gas i'n hynaif gynt;
Diwrnod, y câd iawnrad, yw
Ym manniar *Dewi Mynyw*,
Pan lew arweiniodd *Dewi*
Ddewr blaid o'n hynafiaid ni,
I gyrch gnif, ac erch y gwnaeth
Ar ei alon wrolaeth.
Ni rodd, pan ennillodd, nod[1]
Ond *cennin* yn doccynod,
*Cennin* i'w fyddin fuddug
Nodai i'w dwyn, a da 'u dug:

[1] Tessera, a badge.

*Hosanna*[1] (ddiflina floedd)
Didawl ei amnaid ydoedd,
Gan Ddewi (ag e'n ddiarf)
Trech fu cri gweddi nag arf,
A *Chymru* o'i ddeutu ddaeth,
I gael y fuddugoliaeth;
Hwyntau, gan lwyddo 'n hantur,
A glân barch o galon bur,
Er oesoedd a barasant
Addas wyl i Ddewi Sant:
Ac urddo 'r *cennin* gwyrddion
Yn goffhâd o'r hoywgad hon,
A bod trwy 'n cynnefod ni,
Diolch i Dduw a *Dewi.*
*Dewi fu* 'n noddwr diwael,
*Chwi ydyw* ein hoywlyw hael,
Mae 'r hanes im', Ior hynod,
A fu, y geill etto fod:
Ar Dduw a chwi, rwydd eich iaith,
Yn gwbl y mae ein gobaith,
(Pan gyrch Naf eich dewraf daid
I fynu, (Nef i'w enaid)
I newid gwlad lygradwy
Am berffaith a milwaith mwy;
Iwch gael (pand yw hyfael hyn?)
Rheoli pob rhyw elyn,

[1] A word very agreeable to the character of the holy Archbishop, signifying, Save us, O Lord: and history tells us, that it was the *symbolum*, or watchword, &c.

Gorchfygu talm o'r *Almaen*,
Taraw 'spêr hyd dir *Yspaen*,
Cynnal câd (yn anad neb)
Tandwng, yn ddigyttundeb,
I ostwng rhyfawr ystawd
Llyw *Ffraingc*, fal nad allo ffrawd;
A difa, trwy nerth Dofydd,
Ei werin ffals, a'r wan ffydd;
Dannod eu hannudonedd
Yn hir cyn y rhoddir hedd.
  Yn ol dial ar alon,
Rhial hardd yw 'r rheol hon,
Gorsang y cyndyn gwarsyth,
Bydd wlydd wrth y llonydd llyth,
Milwaith am hyn y'ch molir,
A'ch galwad fydd TAD EICH TIR,[1]
Gwr odiaeth a gwaredydd,
Yn rhoi holl *Ewropa* 'n rhydd:
Ac am glod pawb a'ch dodant
Yn rhychor i SIOR *y Sant*.

---

## CYWYDD I DDIAWL.

Y *Diafol*, arglwydd dufwg,
Ti, du ei drem, tad y drwg,
Hen *Suddas*, atgas utgi,
Gelyn enaid dyn wyt ti,

[1] (Parcere subjectis, et debellare superbos. VIRG. Pater Patriæ.)

Nid adwaen (yspryd ydwyt)
Dy lun, namyn mai *Diawl* wyt;
Od wyt hyll, ys erchyll son
Am danat, y mae dynion,
A lluniaw erchyll wyneb,
A chyrn it' na charai neb,
Ynghyrrau 'th siol anghywraint
Clustiau mul (clywaist eu maint),
Ac ael fel cammog olwyn,
Hychaidd anfedrusaidd drwyn,
A'th dduryn oedd, waith arall,
Fal trwyn yr ab, fab y fall,
A 'sgyflfant rheibus gweflfawr,
Llawn dannedd ôg miniog mawr;
Cammog o ên fel cimmwch,
Barf a gait, fel ped fait fwch;
A'th esgyll i'th ddwy ysgwydd,
Crefyll cyd ag esgyll gwydd;
Palfau 'n gigweiniau gwynias,
Deg ewin, ry gethin gas,
A'th rummen anferth remmwth,
Fal cettog, was rhefrog rhwth;
Wfft mor gethin y din dau!
Ffei o lun y ffolennau!
Pedrain arth, pydru a wnel,
A chynffon fwbach henffel,
Llosgwrn o'th ol yn llusgo
Rhwng dy ddau swrn llosgwrn llo;
A gwrthffyrch tinffyrch tanffagl,
Ceimion wrth y gynffon gagl;

A charnau 'n lle sodlau sydd,
Gidwm, islaw d'egwydydd.
Er na nodawdd o nawdd Naf,
Nemmor un y mawr anaf.
Dyna'th bortreiad anwiw,
Anffurfiawg ddelw leuawg liw,
Rhyw erthyl wyt rhy wrthun,
*Diawl* wyt, os cywir dy lun,
Y mae, os hwn ym mai sydd,
Lle i nodi truth lluniedydd.
  Gwir ydyw rhai a gredynt
Yt ddwrdio *Angelo*[1] gynt,
Sorri am i hurtni hwn
Ddiwyno mawredd annwn;
A thrychu fyth o'r achos,
Hyn a wnai 'n nydd, yn y nos,
Nes gwneuthur parch (wrth d'arch di,
*Satan*) a llun tlws iti,
  Minnau, poed fel y mynych
Dy lun, ai gwrthun ai gwych,
Rhof it gyngor rhagorawl,
Nâ ddŷd nemawr un i *Ddiawl*.
  Gŵr y sy (gwae yr oes hon!)
Blaenawr yr holl rai blinion,

[1] *Michael Angelo*, Lluniedydd cywraint yn yr Eidal; ni a ddarllenwn am ffrwgwd a fu rhwng Diawl ag ef, am wneuthur ei lun mor wrthun; a'r caredigrwydd a'r teuluedd a dyfodd rhyngddynt ar ol i *Angelo* wneuthur llun prydferth iddo, yn ddadolwch am y sarhad o'r blaen.

Ac yna daw drwy 'th gennad,
Yna rhuthr onide 'n rhad,
Canys os hyn a fyn fo,
Lewddyn, pwy faidd ei luddio?
Gwr cestog yw'r taerog tost,
Dinam ti a'i hadwaenost;
A pha raid nod a phryd neb?
(Annwn ni dderbyn wyneb)
A godlawd yw coeg edliw
I'r un ddim o'i lun a'i liw;
Digon o chaid honnaid hau,
Gostog ryw faint o'i gastiau.
   Dyn yw, ond heb un dawn iach,
Herwr, ni bu ddihirach,
Gŵr o gynneddf anneddfawl,
Lledfegyn rhwng dyn a diawl
Rhuo gan wyn rhegi wna,
A *damio* 'r holl fyd yma;
Dylaith i bawb lle delo,
Llawen i bawb lle na bo;
Ofnid ef fel Duw nefawl,
Ofnid ef yn fwy na *Diawl*,
Ni chewch wyth yn y chwe chant,
O chuchia ef na chachant;
Cofier nad oes neb cyfuwch
Nid oes radd nad yw Syr uwch,
Marchog oedd ef (merchyg Ddiawl);
Gorddwy (nid marchog urddawl),
Marchog gormail, cribddail cred,
Marchog y gwyr a'r merched.

Nis dorai was di-arab,
Na chrefydd, na ffydd, na phab,
Cod arian y cyw diras,
Yw crefydd y cybydd cas;
A'i oreudduw oedd ruddaur,
A'i enaid oedd dyrnaid aur.
A'i fwnai yw nef wiwnod,
A'i Grist, yw ei gist a'i god,
A'i eglwys a'i holl oglud,
Cell yr aur a'r gloyw-aur glud,
A'i ddu bwrs oedd ei berson,
(A mwynhad degwm yn hon)
A'i brif bechod yw tlodi,
(Pob tlawd sydd gydfrawd i gi)
A'i burdan ymhob ardal,
Yw gwario mwn, ac aur mâl,
A'i uffern eithaf aphwys,
Rhoi ei aur mân gloywlan glwys;
Dyna yt, *Suddas* dânwr,
Un neu ddau o gastiau'r gwr,
Rhyw swrn o'r rhai sy arnaw,
Nid cyfan na'i draian draw.
Os fy nghynghor a ddori,
Gyr yn ol y gwr i ni;
Nid oes modd it ei oddef,
Am hyn na 'mganlyn ag ef:
Nid oes i'r Diawl bydawl bwyll,
Ddiawl genyt, a ddeil ganwyll;
Yna os daw, nos a dydd,
Gwèlwch bob drwg bwygilydd,

Diflin yw o chaid aflwydd,
I drin, ei gyssefin swydd,
Gyr byth, â phob gair o'i ben,
Dripharth o'th ddieifl bendraphen;
Ac od oes yna gŵd aur,
Mâl annwn er melynaur;
O gwr ffwrn dal graff arnaw,
(Trwyadl oedd troad ei law);
A'r lle del gochel ei gern,
Cau ystwffwl cist uffern;
Gyr i ffordd oddiwrth d'orddrws,
A chur o draw, a chau'r drws;
A chrwydryn o chair adref,
Afreidiawl un Diawl ond ef.

—o—

## BONEDD A CHYNNEDDFAU'R AWEN.

Bu gan Homer gerddber gynt
Awenyddau, naw oeddynt;
A gwiw res o dduwiesau,
Tebyg i'w tad, iawn had *Iau*;
Eu hachau, o ganau gynt,
Breuddwydion y beirdd ydynt.
Un *Awen* a adwen i,
Da oedd, a phorth Duw iddi,
Nis deiryd, baenes dirion,
Naw merch cler *Homer* i hon.
Mae'n amgenach ei hachau,
Hŷn ac uwch oedd nag âch *Iau*,

Nefol gler a'i harferynt,
Yn nef y cae gartref gynt:
A phoed fâd i wael adyn,
O nef, ei hardd gartref gwyn;
Dod, Ion, im' ran o honi,
Canaf ei chlod hoywglod hi:
Llwyddai yn well i eiddil
Borth tau, nâ thafodau fil.
Dywaid, pa le caid awen
Cyn gosod rhod daear hen,
A chael o'r mor ei ddorau,[1]
A thyle dwr o'th law dau,
A bod sail i'th adailad,[2]
Ein Creawdr Ymerawdr mad?
I'r Nef ar air Naf yr oedd,[3]
(Credaf pand cywir ydoedd?)
Ser bore a ddwyrëynt
Yn llu i gyd ganu gynt,
Canu 'n llon hoywlon eu hawdl,
Gawr floeddio gorfoleddawdl!
Ac ar ben gorphen y gwaith,
Yn wiwlan canu eilwaith,
Caed miloedd o nerthoedd Nef
Accw 'n eilio cân wiwlef,
Meibion Nef yn cydlefain
A'u gilydd mewn cywydd cain,
[4] "Perffaith yw dy waith, Duw Ion,
"Dethol dy ffyrdd a doethion,

[1] Job 38. 8, 10. [2] Job 38. 4, 6. [3] Job 38. 7.
[4] Salm 19. 1.

"A mâd ac anchwiliadwy,
"Dduw mawr! ac ni fu ddim mwy!"
Per lefair cywair eu cân,
Pob ergyr fal pib organ,
Can mil-ddwbl accen amlddull,
Llawn hoen, heb na phoen na ffull.
Gwanai ei gwiwdeg hoenwawr,
Ewybr eu llef, wybr a llawr,
Fe 'i clywai 'r ser disperod;
Llemmain a wnae rhai'n i'w rhod;
Ffurfafen draphen a droe,
Ucheldrum Nef a chwildroe;
Daeth llef eu cân o Nefoedd,
Ar hyd y crai fyd, cryf oedd;
Adda Dad, ym Mharadwys,
Clywodd eu gwawr leiswawr lwys;
Hoffai lef eu cerdd Nefawl,
Ac adlais mwynlais eu mawl;
Cynhygiai eu cân hoywgerdd,
Rhoe ymgais ar gais o'r gerdd;
Difyr i'w goflaid *Efa*,
Glywed ei gân ddiddan dda;
Canai *Efa*, decca' dyn,
Canai *Adda*, cain wiwddyn;
Canent i'w Ner o ber berth,
O'r untu, hyd awr anterth,
Ac o chwech ymhob echwydd,
Pyngciô hyd nad edwo dydd.
Cân *Abel* oedd drybelid,
Diddrwg, heb hyll wg a llid;

Anfad ei gân, bychan budd
Accen lerw-wag *Cain* lawrudd,
Ni chydfydd awenydd wâr
A dynion dybryd anwar:
Ion ni rydd hyn o roddiad,
Wiwles, ond i fynwes fad.
Cynnar o beth yw canu,
Awen i *Foesen* a fu;
Awen odiaeth iawn ydoedd,
Wrth adaw'r *Aifft* anghraifft oedd.
Cant, cant, a ffynniant i'w ffydd,
Cyn dyfod canu *Dafydd*:
Pyngcio wnae fe fal pencerdd
Nefol, a rhagorol gerdd;
Prydodd dalm o bêr Salmau,
(Fwyned im' ynt f'enaid mau!)
Canu dwsmel, a thelyn,
Yn hardd a wnai 'r gwiwfardd gwyn,
Gyd â'i law ydd aê'r awen,
(Wi, wi, i'r llaw wisgi wen!)
Ewybr oedd y boreuddydd,
Ei lais ym min dichlais dydd,
Deffro fy nabl (parabl per!)
"I ganu emyn Gwiwner,
"I'm Ion y rhof ogoniant,
"A chlod, â thafod, â thant;"
Am ganu, ni fu ni fydd,
Hoyw ei fawl ei hefelydd.
Awen bêr wiwber ei waith,
Oedd i *Selyf*, ddisalw eilwaith,

Fe gant gân (gwiwlan y gwan,
Cân odiaeth) y *Caniadau;*
Pwy na char ei *Ros Saron,*
Lili, a draenllwyni llon?
Y mae 'n ail y mwyn eiliad,
I gywydd *Dafydd* ei Dad:
Dygymydd Duw ag emyn,
O awen dda, a wna ddyn,
Prawf yw hon o haelioni
Duw Nef, a da yw i ni.
Llesia gân yn llys gwiwnef,
Mawr gerth yw ei nerth yn Nef;
Pan fo 'r côr yn clodfori,
Cydlef llu Nef oll â ni,
Ac atteb cân yn gyttun,
Daear a Nef a dry 'n un.
Dyledswydd a swydd hoyw sant,
Yw gwiw gân a gogoniant;
Dysgwn y fad ganiad gu,
Ar fyr awn i'w harferu;
Cawn awenlles cân unllef,
Engyl a ni yngolau Nef,
Lle na thaw ein per awen,
"Sant, Sant, Sant! moliant." *Amen.*

---

## AR ENEDIGAETH SIOR HERBERT,

**Arglwydd Llwdlo, cyntafanedig Fab ardderchawg Iarll Powys, 1756.**

Moes erddigan a chanu,
Dwg i'n gerdd dêg, awen gu,

Trwy 'r dolydd taro 'r delyn,
Oni bo 'r ias yn y bryn,
O gywair dant, a gyr di
Awr orhoen i *Eryri.*
  Dowch chwithau â'ch hymnau heirdd,
Ddiwair addfwyn Dderwyddfeirdd,
Ni cherdd a foliannoch chwi
Dir angof, er ei drengi;
Prydyddwch, wŷr per diddan,
Anfarwol, ragorol gân,
Fel y cant *Corybantau*
Y dydd pan y ganed *Iau,*[1]
Hawdd fodd i'w ddyhuddo fu
O waith beirdd, a thabyrddu.
  Ganed i ninau gynnawr,
Un a haedd gân, maban mawr!
Ein tynged pan ddywedynt
Bu wirdda gair y beirdd gynt,
Coeliaf o ddyfnder calon,
Am yr oes aur, eu mawr son.
  Cynnydd, y maban ceinwiw,
Hil mawrion wŷr gwychion gwiw!
Cynnydd, fachgen! gwen gunod,
I mi 'n dâl am awen dôd.
  Croesaw 'm myd, hefyd i ti,
Tirionwaed da rieni,
Gwrda fych, fel eich gwirdad,
A gwych y delych chwi 'n dad,

[1] Jupiter.

A phoed i'w taid gofleidiaw
Eich meibion llon ymhob llaw:
Ac yno boed rhwng Gwiwnef
Gyd ddal y gofal ag ef.
  Dengys, yn oed ieuangwr,
Tra fych, a wnelych yn wr.
Ac ym mysg pob dysg y daw,
Gweithred odidog athraw!
Os o hedd melys, a hir
Lwyddiant y'ch gorfoleddir;
Neu os eirf iwch a wna son
A siarad yn oes wyrion;
Gwelwch yn ol eich galwad,
Les dysg gan ofalus Dad,
I ddilyn ffordd ydd elynt
*Herbeirtion* gwaew-gochion gynt,
O deg irdwf, had gwyrda!
(A gnawd oedd) o egin da!
Nid oes gel o'n disgwyliad
O'th achles a'th les i'th wlad.
Drwy ba orfod y codi?
(Dylid aer gan dy law di)
Pa esgar, pwy a wasgud?
Pwy wyra d' eirf? Pa ryw dud?
Duw wnel yt' roi *Ffraingc* dan iau,
Ciwdawd rylawn hoccedau;
Didwyll, ar dafod, ydyw,
Uthr o dwyll ar weithred, yw:
Ciwed yw hon nas ceidw hedd,
Dilys y ceiff ei dialedd.

Diau na ladd rhydain lew,
Adwyth i dylwyth dilew;
Annog bygylog elyn,
Afraid i *Frutaniaid* hyn.
Ai arwylion oer alaeth,
A fynn, giwed gyndyn gaeth?
Trychwaith a ddaw o'u trachwant,
O'ch o'r gwymp drachwerw gant!
I'w llynges pond gwell angor
Nâ llu i ormesu 'r môr?
Dan ddwylaw *Prydain* ddilorf
Pa les a wna 'u diles dorf?
Torf yn ffwyr gynt a wyrodd,
Torf anhy a ffy, a ffodd,
Ac a dâl â gwaed eilwaith
Ffrydiawg, am eu geuawg waith.
Os SIOR, oreubor, o rym
Rhyfelwr, ac eirf WILYM,[1]
A âd ddim i do a ddaw
Deled bri *Ffraingc* i'ch dwylaw;
A deled, Duw a iolaf,
I chwi fyd hawdd, a nawdd Naf;
Er Iesu, hir yr oesoch
Wellwell yn eich *Castell Coch*,
Ac yno cewch deg ennyd
I orphwys o bwys y byd,
I fwynhau llyfrau a llên
Diwyd fyfyrdod awen;

[1] Duc Cumberland.

Ac, oni feth y gân fau,
Syniwch a genais innau,
Fardd *dwy-iaith*, diledlaith lin,
Lledwael *Gymraeg* a *Lladin*.
Trwy bau syw tir *Bowys* hen,
Hyfryd, tra rhetto *Hafren*.
Ac yno tra bo, trwy barch,
Llin *Herbert* yn llawn hirbarch,
Yr erys eich arwyrain
I'w ganu trwy *Gymru* gain.

——o——

## PEDWAR ENGLYN MILWR,

**Yn cyfarch y Bardd o waith IEUAN Brydydd Hir, o Geredigion.**
**Gwelwch atteb iddynt, tu dalen 28.**

HANBYCH well, *Goronwy ddu*,
Y *Dryw o Fon fam Gymru:*
Gwr prif y rhif am fydru.

Ni wybuum dy elfydd.
Am offrydiaw awenydd,
*O Gybi Mon i Gaerdydd,*

Yn yr oesoedd cyssefin,
Oeddynt feirdd prif, *Taliesin,*
*Llywarch Hen,* a'r *ddau Ddewin.*[1]

Daroedd heddyw arwyrain,
Etwa gwell nog un o'r rhain,
Y prifardd *Gronwy Owain*.

[1]*Al.* ddau Fyrddin.

## CYWYDD Y FARN FAWR,

**Ac Esponiad Llewelyn Ddu.**

[1]DOD ym' dy nawdd, a hawdd hynt,
DUW hael, a deau helynt,
Goddau[2] f' armerth,[3] o'm nerthyd,
Yw *Dydd Barn* a diwedd byd;
Dyddwaith, pa ham na 'n diddawr,[4]
Galwad i'r ymweliad mawr!
Mab *Mair* a gair yn gwiriaw
Y dydd, ebrwydded y daw;

[1] The first two lines are a solemn invocation of the Almighty, desiring his assistance in the prosecution of this work; the two following lines shew the ground-work and design of the Poem; and the fifth and sixth lines take occasion to engage the reader's attention from the importance of the subject.

[2] Amcan, design.

[3] Yr hyn a ddarperir, neu a gymerir yn llaw; an undertaking.

[4] *Dawr* and *diddawr*, it concerns, &c. Pam na'n diddawr? hyny yw, Pam y byddwn ddifater o honaw? Pam na bai arnom ofal o'i blegyd? Once for all; I am to let the reader know, that it is not on account of obsoleteness, or obscurity in their meaning, that several words are explained in these notes, but that the British, like all other languages, hath its *dialects;* and that often, what is very well understood in North Wales is not so in South Wales, or in Powys-land, and the contrary: our author therefore hath made use of all the *dialects* together in this Poem (as *Homer* hath done in the Greek) and sometimes compounds, which the loftiness of his subject required, and which may be not very plain to any one of the *dialects*.

A'i *Saint* cyttun yn unair
Dywedant, gwiriant y gair,
A gair Duw 'n agoriad in',
Gair Duw, a gorau dewin;
Pan'd gwirair y gair a gaf?
Iach rad, a pham na chredaf?
Y dydd, dïogel y daw;
Boed addas y byd iddaw:
Diwrnod [1] anwybod i ni,
A glanaf lu goleuni:
Nid oes (f' Arglwydd) a wyddiad
Ei dymp, onid Ef a'i Dad:
Mal cawr aruthr yn rhuthraw,
Mal lladron[2] dison y daw:
Gwae[3] 'r diofal ysmala!
Gwynfyd i'r diwyd a'r da!
Daw angylion, lwysion lu,
Llym naws a llumman[4] Iesu;
Llen, o'r ffurfafen, a fydd
Mal cynfas, mil a'i cenfydd,
Ac ar y llen, wybrennog,
E rydd Grist arwydd[5] ei grog.
Yno 'r Glyw,[6] Ner y gloywnef,
A ferchyg yn eurfyg nef!
Dyrcha 'n uchel ei helynt,
A gwân[7] adenydd y gwynt!

[1] Mat. 24. 36. [2] 2 Pet. 3. 10. [3] Mat. 24. 45. i'r diwedd.
[4] Banner, *standard.* [5] τὸ σημεῖον τȣ̃ υἱȣ̃ τȣ̃ ἀνθρώπȣ. Mat. 24. 30.
Pa beth yntau yw arwydd Mab y Dyn?
[6] Llywydd, *a Governor.* [7] Salm 18. 10.

A'i angylion gwynion, gant,
Miloedd yn eilio moliant.
Rhoi gawr[1] nerthol, a dolef,
Mal clych, yn entrych y nef,
Llef mawr goruwch llif mor-ryd,
Uwch[2] dyfroedd aberoedd byd:
Gosteg[3] a roir, act Ust! draw,
Dwrf rhaiadr, darfu rhuaw;
Angel a gân, hoywlan lef,
Felyslais, nefawl oslef;
Wrth ei fant, groywber gantawr,
Gesyd ei gorn, mingorn mawr,
Corn anfeidrol ei ddolef,
Corn[4] ffraeth o saerniaeth nef.

[1] Bloedd, *a shout.* [2] Dat. 14. 2. [3] Dat 8. 1.

[4] *So* Homer *calls his Hero's Armour*, Θεῶν ἐρικυδία δῶρα, *and* δῶρα θεοῖο: *and* Virgil *that of* Æneas,

Sideres flagrans Clypeo & cœlestibus armis.

And as there are manifest traces of the Hebrew idiom in the Works of the Greek Poets, it is not likely (notwithstanding the rest of the fable) that this way of speaking was borrowed of the Hebrews, who, when they would represent a thing as superlatively great or excellent, usually join to it one of the names of God, *El*, *Elohim*, or *Iah*, as הדרי אר the *mountains of God* (*El.*); In our English Bibles, *Great mountains*, in the Welsh, *mynyddoedd cedyrn*, Salm 36. 6. Gen 30. 8. בתחולי אלהים *The wrestlings of God* (*Elohim*) or *great wrestlings*: In the Welsh, *ymdrechiadau gorchestol*, and in *Solomon's Song*, 8. 6. שלהכהיה The *flame of God*, (*Iah*) or a most vehement flame; in Welsh, *fflam angherddol*. See also Salm 80. 10.

Dychleim, o nerth ei gerth gân,
Byd refedd,[1] a'i bedryfan,
Pob cnawd, o'i heng, a drenga,
Y byd yn ddybryd ydd â;
Gloes oerddu'n neutu nattur,
Daear a hyllt, gorwyllt gur!
Pob creiglethr, crog, ar ogwymp,[2]
Pob gallt,[3] a gorallt a gwymp:
Ail i'r âr ael *Eryri*,[4]
Cyfartal hoewal[5] a hi;
Gorddyar,[6] bâr, a berw-ias
Yn ebyr,[7] ym myr,[8] ym mas,[9]

[1] Dr. Davies says, that *rhefedd* is the same as *rheufedd*, riches; but erroneously, for *rhefedd* is formed of *rhef*, as *tewedd* is of *tew*, and both signifying the same thing, viz. *thickness*.

[2] *Ogwymp*, from *gogwympo*; the Welsh tongue is remarkable for these compounds, of which there are two in this couplet that make a pretty opposition, one upon the verb, and the other upon the noun, and which are great helps in poetry.

[3] *Gallt*, in Northwales, signifies a *steep hill*, and in Southwales a *coppice of wood*; but in Southwales they throw off the *G*, and pronounce it *allt*, in the plural *elltydd*;

"Af yn wyllt o fewn elltydd;
"I eiste' rhwng clustiau 'r hydd,"

says *Lewis Glyn Cothi*, an Officer under *Jasper*, Earl of Pembroke, when he was forced to wander from place to place.

[4] *Eryri*, the range of mountains in Carnarvonshire, called in English Snowdon-hills, the highest of which, called yr *Wyddfa*, is near a mile in perpendicular height. See Dat. 6. 14.

[5] *Hoewal*, the stream of the sea or a river; i.e. in that great day of confusion all these will be level.

[6] *Trwst*, roaring when spoken of the sea. See Luke 21. 24.

[7] Aberoedd. [8] Moroedd. [9] Bas, lle bas.

Twrdd ac anferth ryferthwy,
Dygyfor ni fu fôr fwy,
Ni fu ddylif yn llifo
Ei elfydd yn nydd hen *No.*[1]
Y nef yn goddef a gaid,
A llugyrn[2] hon a'i llygaid
Goddefid, naws llid, nos llwyr,
Gan[3] lewyg gwyn haul awyr;
Nid mwy dilathr ac athrist
Y poen-loes cryf pan las CRIST.
Y wenlloer[4] yn oer ei nych,
Hardd leuad, ni rydd lewych:
Syrth nifer y sêr (arw son!)
Drwy'r wagwybr[5] draw i'r eigion.[6]

[1] Noah, whose deluge was not to be compared to this.

[2] Goleuadau, luminaries.

[3] Mat. 24. 29. Marc 13. 24. 25. In this darkening the Sun's light, our Author hath made use of a very bold metaphor, that the Sun would suffer in natural wrath, an entire night by fainting away, (λειποψυχία.) Much after the same manner (he says) as the fit it was in when Christ was crucified.

[4] Our Author in describing the Moon's darkness takes the opportunity of giving us both the names of the moon, *lloer* and *lleuad*, both seem to be of the same original, which in the Celtic, might possibly be *lleu*, the same with the Latin *lux*; for we have several words framed from the same radix, *lleuer*, *llewych*, *lleurwydd*; *goleu*, *goleuni*, *goleurwydd*; *lleueru*, *llewyrn*; all signifying *light*, *splendour*, *&c.*

[5] This conveys a noble idea of that empty space in the heavens, between the stars and that great abyss into which, our Author says, they will fall.

[6] Though *eigion* at first sight, seems to be the same with the

Hyll ffyrnbyrth[1] holl uffernbwll
Syrthiant drwy 'r pant[2] draw i'r pwll;
Bydd hadl[3] y wal[4] ddiadlam
Y rhawg, a chwyddawg[5] a cham,
Cryn y gethern[6] uffernawl,
A chryn, a dychryn[7] y diawl;
Cydfydd y fall[8] â'i gallawr,[9]
Câr lechu 'n y fagddu[10] fawr.

Greek ὠκέανος, and the Latin *oceanus*, it is certain it is not borrowed from them, but formed from *aig*, the sea:

Ni thau fy mhen am Wenno,
Mwy nâ'r aig ym min y ro.

1 The terrible gates of hell furnaces.

2 *Pant* is any hollow place; and here is used for the great hollow, or *vacuum*, between hell and the place it is to fall into.

3 *Adfeiliog*, ruinous.

4 Some Critics would have the word *gwal* a corruption of the Latin *vallum*; but if Mons. Pezron's rule holds good, *vallum* is derived from the Celtic *gwal*, by adding *um*; as from *gwin*, *vinum*, *&c.*

5 *Serfyll*, likely to fall; from *cwyddo* to fall; hence *gogwyddo*, *tramgwyddo*, *&c.*

6 Teulu uffern, *furies*, *dæmons*.

7 *Dychryn*, *à dy* and *crynu*, i. e. to quake exceedingly for fear. This *crynu*, repeated three times, adds a vast strength to the expression, especially as the idea is augmented in the last.

8 *Satan*, the Prince of hell.

9 A *caldron*, or *pot*. Satan is glad to get into some mean corner of hell to hide himself.

10 *Uffern*, properly, *utter darkness*, from *mwg* and *du*, q. d. *mygddu*. Hell is so called in some parts of Wales; so our Welsh Translators have rendered אפל Job 10. 22, and אפלוֹן Isaiah 59. 9.

Dyfyn a enfyn Dofydd,[1]
Bloedd erchyll, rhingyll a'i rhydd,
Dowch y pydron[2] ddynionach,
Ynghyd, feirw byd, fawr a bach:
Dowch i'r farn a roir arnoch,
A dedwydd[3] beunydd y b'och.
Cyfyd[4] fal yd o fol âr,
Gnwd tew, eginhad daear,
A'r môr[5] a yrr o'r meirwon
Fil myrdd[6] uwch dyfnffyrdd y donn:
Try allan ddynion tri-llu,[7]
Y sydd, y fydd, ac a fu,

[1] Un o ddodenwau, neu ragenwau Duw, one of God's epithets, i. e. the Tamer.

[2] *Pydron ddynionach*, is a most beautiful expression in the mouth it comes from, and carries an idea with it not to be expressed in other language.

[3] The charitable wish of the angel of a happy judgment, puts him in a most lively light.

[4] There is in Homer (Iliad B.) a simile not unlike this: *Μυρίοι ὅσπα τὲ φύλλα κί ἄνθεα γίγνηλαι ἄρη.* And in Virgil, Æn. lib. 6. *Quam Multa in Sylvis, &c.*

[5] Dat. 20. 13.

[6] *Myrdd* is a *myriad*, or ten thousand; but it is used here for an undetermined number. *Myrddiwn*, in the plural, *myrddiynau*, is a million, or ten hundred thousand.

[7] *Llu* is probably the ancient Celtic word, from whence the Latin *legio* is derived, and the English *legion*, and in the plural is *lluoedd*, or *lluon*, vulgarly *llion*. Hence Caerllion ar Wysg, one of the cities of legions in Britain. The present, as well as the ancient meaning of the word *llu*, is an army of men

Heb goll yn ddidwn hollol;
Heb un o naddun yn ol.
Y dorf[1] ar gyrch, dirfawr gad!
A'n union ger bron Ynad;[2]
Mab MAIR ar gadair a gaid,
Iawn Naf gwyn o nef gannaid,
A'i osgordd,[3] welygordd lân,
Deuddeg ebystyl diddan.

(though here metaphorically used for a multitude) as appears by the book of Triades, "A llwyra lluydd a fu hwnw."—Tr. *Lluydd* is the gatherer of an army, and Llewddyn Luyddawg is mentioned, in the same Triades, the name of a British Prince that had a vast army.

[1] *Torf*, and y *dorf*, is the ancient Celtic word for a multitude, from whence the Latin *turma* was borrowed; the root is *twrf*, which signifies *noise*, and the sound of thunder; and, in some parts of South Wales, thunder is called *tyrfau*, the plural of *twrf*. From the Latin *turma*, the provincial Britains formed the word *tyrfa*, which is now the common word for a multitude, or great meeting of people; if it is not formed from the word *tyrru*, to gather together.

[2] *Ynad*, is a Judge; and though Dr. Davies, derives it, by transposition of letters, from the Chaldean and Hebrew, I am yet apt to think it takes its original from *hyn* and *hynaf*, pl. *hynafiaid*, elders. So *ynad* might have been written at first, *hynad*.

[3] *Gosgordd* signifies guards; but our critics have not been able to give any derivation of the word. In my opinion the word is derived from *gweis* (the plural of *gwas*, a servant) and *cordd*, q. d. *gweisgordd*, which seems to be the old Celtic word for a *guard*, the same with the French *garde*, the Italian *gardia*, and Spanish *guarda*.

Cyflym y cyrchir coflyfr,
A daw[1] i'w ddwy law ddau lyfr;
Llyfr bywyd, gwynfyd y gwaith,
Llyfr angau, llefair ingwaith.
Egorir a lleïr[2] llith
O'r ddeulyfr amryw ddwylith;
Un llith o fendith i fâd;[3]
A'r diles air deoliad.
Duw gwyn[4] i le da y gyrr
Ei ddeiliaid a'i addolwyr.
I'r euog, bradog eu bron,
Braw tostaf; ba raid tystion?
Da, na hedd Duw[5] ni haeddant,
Dilon yrr, delwi a wnant.

[1] Dat. 20. 11.

[2] The common word is *darllenir*, and the author might have written here (*Egorir darllenir llith,*) which would not have hurt the verse at all; but he chose to stick to the ancient primitive *lleu*, to read, which, no doubt, is one of the original *Celtic* roots, and from whence *llyfr*, a book, and the Latin *liber* might be derived; as is *llen*, doctrine, and *darllain*, to read.

[3] *Da*, good.

[4] *Gwyn*, white, is here metaphorically used for *holy*, *clean*, *unspotted*, and is a common epithet for God, when his sanctity is mentioned; as is *Duw llwyd*, which signifies *grey*, when his eternity is mentioned; as the Ancient of days.

[5] The word *Duw*, God, in the old *Celtic*, seems to have been formed from *da yw*, that is, *he is good*. So the Chald. *Tau*, and the Hebr. טוב, are the sound for *good*. So the English word *God*, is derived from the Saxon *lod*, and the Teutonic *gutt*, i. e. *good*. From the Celtic *Duw*, the Greek Δι, and Latin *Deus*, are derived.

Y cyfion[1] a dry Ion[2] draw,
Dda, hil ar ei ddeheulaw;
Troir y dyhir, hyrddir hwy,
I le is ei law aswy:
Ysgwyd[3] y nef tra llefair
IESU fad, a saif ei air:
Hwt![4] gwydlawn felltigeidlu
I uffern ddofn a'i ffwrn ddu,
Lle ddiawl, a llu o'i ddeiliaid,
Lle dihoen, a phoen na phaid:
Ni chewch ddyben o'ch penyd,
Diffaith[5] a fu'ch gwaith i gyd;

[1] Math. 25. 33, 34, &c.

[2] *Ion* is one of the names of God, perhaps the same with *Jehovah.* The name of a man, *Ioan*, which is the Latin *Johannes*, is ignorantly pronounced *Ion*, which should be *Io an*, in two syllables, as appears from that verse of Iolo Goch:—

All yw *Io an* lân lonydd.

[3] This is beautifully expressed by Homer, (Illiad A. and elsewhere) though the fate is by him attributed to Jupiter, who is said to do it with a nod of his immortal head:

— — — — — *νεῦσί Κρονίων*

— — — *μέγαν δέλελιξεν ὄλυμπον*

And after him Virgil (Æn. lib. IX. and elsewhere)—

totum nutu tremefecit olympum.

But much more beautifully and majestically by the great Creator of heaven and earth himself, &c. שפים אך בון I will shake the heavens, (make, or cause to tremble) the heavens, &c. Isaiah 13. 13. See Hag. 2. 6. which expression our Author hath followed.

[4] Mat. 25. 41.

[5] *Diffaith*, from *di* and *ffaith*, evil, vile, literally, not good. *Ffaith* was an old British, or Celtic word for *good*; and tho'

Ewch, ni (chynnwys y lwysnef
Ddim drwg) o lân olwg nef,
At wyllon[1] y tywyllwg,
I oddef fyth ei ddu fwg.
O'i weision, dynion dinam,
Ni bydd a adnebydd nam;
Da 'n ehelaeth a wnaethant,
Dieuog wyr, da a gant.
  Llefair yn wâr y câr cu,
(Gwâr naws y gwir Oen Iesu,)
Dowch[2] i hedd, a da'ch haddef,[3]
Ddilysiant anwylblant Nef,
Lle mae Nefol orfoledd,
Na ddirnad ond mad a'i medd:[4]
Man hyfryd yw mewn hoywfraint,
Ac amlder y sêr o Saint,
Llu dïen[5] yn llawenu,
Hefelydd[6] ni fydd, ni fu:

the Cambro-Britains have lost the primitive, they retain in it the compound; and the Irish, (a branch of the Celtie) use the word *maith*, to this day for *good*, which the French Britains pronounce MAT. Here I must observe, that Dr. Davies, should have wrote *diffaith*, a desert, with an *(e) diffaeth*; hence *diffaethwch*, a wilderness, from *di* and *ffaeth*, i. e. uncultivated, or not mellow.

[1] *εἰς τόν αἰωνα, οἷς ὁ ξόφος τοῦ σκότους εισ αιωνα τετήρηται.* Epist. Jude. 13.

[2] Mat 25. 34. [3] *Trigfa, cartref*, home. [4] 1 Cor. 2. 9.

[5] See a letter to the Cymmrodorion on the Prince of Wales's Motto, Ich Dien. The word is here used for eternal youth.

[6] *Cyffelyb, tebyg*, like.

O'm traserch, darfum trosoch[1]
Ddwyn clwyf fel lle bwyf y bo'ch,
Mewn ffawd di-dor, a gorhoen,
Mewn byd heb na phyd na phoen.
Gan y diafl[2] ydd â'r aflan,
A dieifl a'u teifl yn y tân,

[1] Ioan 14. 3.

[2] The Devil, this *Diafl*, as well as *Diafol*, and *Diafwl*, are probably provincial words, formed from the Latin *Diabolus*. But the original *Celtic* name is *Diawl*, and which is compounded of the negative *di* and *iawl*, a *prayer*, *request*, or *thanksgiving;* a fit name for the enemy of mankind, *i. e.* void of prayer or thanks to God.

Aed i Ddiawl dragwyddawl dro.—Gr. Gryg.

And though many nations use this same word for the same idea; yet it may be doubted, whether there is one of them that can give it a rational derivation from its own language, as we do from the *Celtic*. Here it may not be amiss to inform persons, who are not acquainted with the rigid Rules of our *Cambro-British* Poetry, of the surprising fetters imposed upon it by the Ancients, for the security of their language, that it might not dance beyond its bounds. These strict Rules, it is certain, have cramped our geniuses, though they have preserved our language in such a manner, that it is almost impossible it should change even a single letter, while the works of the Poets are read. As for example, in the word *Diafl*, from the nature of the verse before us:—

Gan y Diafl ydd â'r aflan.

The three last letters of the word must be the same with the three first in the word *aflan*; and as the word *aflan* cannot possibly alter, because compounded of *af* and *glan*, i. e. *un* and *clean*; so you cannot alter a word that the Poets have used without altering the whole language. The kind of verse quoted here

Try'r Ynad draw i'r wiwnef,
A'i gad gain â gyd ag ef,
I ganu mawl didawl da,
(Oes hoenus!) a Hosanna.
Boed im' gyfran o'r gân gu,
A melysed mawl IESU;
CRIST fyg a fo'r Meddyg mau,
*Amen,* a Nef i minau.

—o—

## ARWYRAIN Y CYMMRODORION.

**Ar y pedwar mesur ar hugain, 1755.**

—o—

**1. Englyn Unodl Union.**

MAWL i'r Ion! aml yw ei rad,—ac amryw
I *Gymru* fu'n wastad:
Oes genau na chais ganiad,
A garo lwydd gwyr ei wlad?

**2. Proest Cadwynodl.**

Di yw ein Tŵr, DUW a'n Tad,
Mawr yw'th waith ym môr a thud,
A oes modd, O IESU mad,
I neb na fawl na bo'n fud?

is the loosest of any of the four different kinds used in composing this sort of poem, though, one would think, this hath difficulties enough; yet the last verse save two,

A melysed mawl Iesu,

hath far greater difficulties, *m l s*, in the word *melysed*, on one side of the accent, must answer to *m l s* in the words *mawl Iesu*, on the other side: and all the vowels, on each side the accent, must differ, in order to make the sound various and musical.

3. Proest Cyfnewidiog.

Cawsom far llachar a llid,
Am ein bai yma'n y byd;
Torres y rhwym, troes y rhod,
Llwydd a gawn, a llawn wellhad.

4. Unodl grwcca.

Rhoe Nefoedd yr hynafiaid
Dan y gosp, a dyna gaid;
Llofr a blin oll a fu'r blaid,—flynyddoedd,
Is trinoedd estroniaid.

5. Unodl Gyrch.

Doe *Rufeinwyr*, dorf, unwaith
I doliaw'n hedd, dileu'n hiaith,
Hyd na roes Duw Ion, o'i rad,
O'r daliad wared eilwaith.

6. Cywydd Deuair hirion.

Aml fu alaeth mil filoedd,
Na bu'n well, ein bai ni oedd.

7. Cywydd Deuair fyrion, ac—8. Awdl Gywydd ynghyd.

Treiswyr trawsion
I'n iaith wenn hon.
Dygn adwyth digwyn ydoedd
Tros oesoedd, tra y *Saeson*.

9. Cywydd Llosgyrnog, a—10. Rhoddaid ynghyd.

Taerflin oeddynt hir flynyddoedd,
Llu a'n torrai oll o'n tiroedd
I filoedd o ofalon:
Yno, o'i rad, ein Ner Ion—a'n piau
A droe galonnau drwg elynion.

11. Gwawdodyn byr.

Ion trugarog! onid rhagorol
Y goryw'r IESU geirwir rasol?
Troi esgarant traws a gwrol—a wnaeth,
Yn nawdd a phennaeth iawn ddiffynnol.

12. Gwawdodyn hir.

Coeliaf, dymunaf, da y mwyniant,
Fawr rin *Taliesin,* fraint dilysiant,
*Brython,* iaith wiwlon a etholant
Bythoedd, cu ydoedd, hwy a'i cadwant,
Oesoedd, rai miloedd, hir y molant—Ner:
Moler; i'n Gwiwner rhown ogoniant.

13. Byr a Thoddaid.

A ddywedai eddewidion, a wiriwyd
O warant wir ffyddlon,
Od âi'n tiroedd dan y taerion,
Ar fyr dwyre wir *Frodorion,*
Caem i'r henfri *Cymru* hoenfron,
*Lloegr* yn dethol llugyrn doethion,
Llawn dawn dewrweilch *Llundain* dirion,—impiau
Dewr weddau *Derwyddon.*

14. Hir a Thoddaid.

Llwydd i chwi, eurweilch, llaw Dduw i'ch arwedd,
Dilyth eginau, da lwythau *Gwynedd*;
I yrddweis *Dehau* urddas a dyhedd,
Rhad a erfyniwn i'r hydrwiw fonedd;
Bro'ch tadau, a bri'ch tudwedd,—a harddoch,
Y mae, wŷr, ynoch emmau o rinwedd.

15. Hyppynt byr.

Iawn i ninnau }
Er ein rhadau } roi anrhydedd.
Datgan gwyrthiau }
Duw, Wr gorau } ei drugaredd.

16. Hyppynt hir.

Yn ein heniaith }
Gwnawn gymhenwaith, } gynnil union,
Gân wiw lanwaith }
Gwnawn ganiadau, }
A phlethiadau } moliant wiwdôn.
Mal ein tadau, }

17. Cyhydedd fer.

Mwyn ein gweled mewn un galon;
Hoenfryd eurweilch, *hen frodorion,*
Heb rai diddysg, hoyw brydyddion,
Cu mor unfryd, *Cymru* wenfron.

18. Cyhydedd hir.

Amlhawn ddawn, ddynion, i'n mad henwlad hon,
E ddaw i feirddion ddeufwy urddas,
Awen gymmen gu, hydr mydr, o'i medru,
Da ini garu doniau gwiwras.

19. Cyhydedd naw ban.

Bardd a fyddaf, ebrwydd ufuddol,
I'r *Gymdeithas,* wŷr gwiw, a'm dethol,
O fri i'n heniaith, wiw frenhinol,
Iawn, iaith geinmyg, yw ini'th ganmol.

**20. Clogyrnach.**

Fy iaith gywraint fyth a garaf,
A'i theg eiriau, iaith gywiraf,
Iaith araith eirioes, wrol, fanol foes,
Er f' einioes, a'r fwynaf.

**21. Cyrch a chwtta.**

Neud, esgud un a'i dysgo,
Nid cywraint ond a'i caro,
Nid mydrwr ond a'i medro,
Nid cynnil ond a'i cano,
Nid pencerdd ond a'i pyngcio,
Nid gwallus ond a gollo
Nattur ei iaith, nid da'r wedd,
Nid rhinwedd ond ar honno.

**22. Gorchest y Beirdd.**

Medriaith mydrau,
Wiriaith eiriau, } wyrth eres.
Araith orau,
Wiwdon wawdiau,
Gyson geisiau, } lân wiwles,
Wiwlon olau,

**23. Cadwyn fer.**

Gwymp odiaethol gamp y doethion,
A'r hynawsion wŷr hen oesol:
Gwau naturiol i gantorion
O hil *Brython,* hylwybr ethol.

**24. Tawddgyrch cadwynog.**

O'ch arfeddyd wŷch wir fuddiol,
Er nef, fythol, wyr, na fethoch:

Mi rof ennyd amryw fanol,
Ddiwyd, rasol weddi drosoch;
Mewn serch brawdol diwahanol,
Hoyw-wŷr doniol, hir y d'unoch,
*Cymru*'n hollol o ddysg weddol,
Lin olynol, a lawn lenwoch.

---

## TRI ENGLYN MILWR,

Yn ol yr hen ddull.

Am a'i prydawdd, o dawr pwy,
Sef a'i prydes *Goronwy*,
Neud nid llith na llesg faccwy.

Ys oedd mygr iaith gyssefin,
Prydais malpai mydr *Merddin*
Se nym lle, nym llawdd gwerin.

Neu, nym doddyw gnif erfawr,
Gnif llei no lludded echdawr,
A'm dyffo clod, gnif ny'm dawr.

---

## CYWYDD Y CRYFION BYD.

Pwy fal doethion farddoni,
Neu pa faint na wypwyf fi,
Os hylon a fu Selef,
Mi a wn gamp mwy nag ef;
Dwys yw'r hawl diau sy rh'om,
Bernwch uniondeb arnom,

Mynnwn gael dadl am ennyd,
A barn y'nghylch Cryfion Byd:
Tri chryf i Selyf y sydd,
Ië diriaid bedwerydd;
Llew anwar, hyll ei wyneb,
Treiddiol, na thrŷ 'n ôl er neb;
Milgi hirsafn ysgafndroed,
Heb wiwiach ci a bwch coed;
Nêr trech o rwysg na'r tri chryf,
Os holwn, fu i Selyf.
Brenhin a phybyr wyneb,
Erfai, na's wynebai neb;
Dyna, boed cof am danynt,
Ei bedwar, rhai anwar y'nt;
Ni chelaf, gwn na choeliech,
Myfi a wn dri sydd drech:
O honynt dau a henwaf,
Didol un yn ôl a wnaf,
O chwant caffael rho'i i chwi
Ddammeg i'w hadrodd immi,
O gadarn pwy a gydiaf,
Am gryfder certh â nerth Nâf
Nis esguswn na's gesyd,
A'i gwnaeth yn benaeth i'r byd;
Er ised oedd yr Iesu,
O inged yw angau du;
Dilys i'r angau dulew,
Heb ymladd yn lladd y llew;
Y milgi llym miweilgoes,
A rêd, ond ni chaiff hir oes,

Uthr angau, hw! a threngi;
Ei hynt a fydd cynt na'r ci.
  Bwch gwyllt yn ebach gelltydd,
Ba hyd i'w fywyd a fydd?
E gyrhaedd angeu gorwyllt,
Ebach a gwâl y bwch gwyllt;
I dad y dychryniadau
Diflin yw y brenin brau.
  Mae Selyf mwyaf seiliad?
Mae'r llywydd *Dafydd* ei dad?
Pa gryfach gadarnach dau
I'r ingaf arwr angau?
Bwriodd ef eu pybyrwch
Mewn un awr i'r llawr a'r llŵch!
Nycha Nêr, byw 'n wŷch wna'r byd,
Hyfawr yw angau hefyd;
Dduw y gras, wrth y ddau gryf
Saled yw cryfion SELYF!
O'i helaeth ddysgeidiaeth gynt,
Gwyddai mor nerthog oeddynt;
A honnai ef eu hynni,
Y llen maith yn well na mi.
Y trydydd certh anferthol
Ei nerth y sydd etto 'n ôl,
Mi a wybum o'm maboed
Ei rym, ef ni's gwybu 'r ioed;
Y rhyfeddod hynod hon,
Gweddai nad yw ond gwiddon,
A chewch os dyfelwch hi
Ei hanes, yn lle'i henwi.

Eiddil henwrach grebach grom,
Nythlwyth o widdon noethlom;
Cynddrwg (oes olwg salach)
O bwynt a llûn angau bâch.
Bwbach wyw bâch heb wedd,
Swbach, heb salach sylwedd;
Sylwedd na chanfu SELEF,
Na gŵr un gyflwr ag ef:
Gwiddon, eiddilon ddwylaw,
A llem pob ewin o'i llaw;
Blaenau cigweiniau gwynias,
Blaenllymion rhy greision gras:
Er eiddiled yw'r ddwylaw,
Ni bu henwrach drymach draw;
Trom iawn, a thra ysgawn yw,
Gwrthdd'wediad rhy gerth ydyw;
Och! anaf yw ei chynnwys,
O phei! mi a wn ei phwys;
Beth yw llew tan ei ffrewyll:
Ni's ofna hon ei safn hyll:
Beth yw nerth a phrydferthwch?
Neu beth yw milgi na bwch?
Os hwnt yr ymddengys hi,
Truan nerth un teyrn wrthi,
Tyrr dyrrau caerau cerrig,
Yn deilch lle'r ennynno'i dig;
Anghynnes ddiawles ddileddf,
Ni erbyd hi dorri deddf,
Hi ferchyg ddihafarchwaith,
Hên gwan pand dihoen ei gwaith,

Gnawd gwrach yn trottian tani,
Gwae hên a farchogo hi,
Ni rydd (mae'n g'wilydd ei gwaith)
Wilog afrwydd le i gyfraith,
Dir y myn, pand oer i mi,
Gloff arthes, gael ei phorthi;
Ac ni ddiylch (gne dduwg)
Un mymryn i'r dyn a'i dwg;
O chawn nerth a chynnorthwy,
Ni ddygwn 'y mhwn ddim hwy;
Mor fall oedd, mawr yw fy llid
Hirlawn i gael eu herlid,
Tynnu 'r awen o'm genau,
A'u dwyn hwnt o dan ei hiau;
Ochaf, mae'n amlwg ichwi,
Ochaf, ond ni henwaf hi;
Hawdd ei gwammal ddyfalu,
Poen yw ei dwyn—y pwn du;
Trom iawn yw, ond tra myn Naf
Yn ddigwyn hon a ddygaf.

---

## CYWYDD Y CYNGHORFYNT, NEU'R GENFIGEN.

Cofio wna hoglangc iefangc,
Yn llwyd hyn a glybu 'n llangc;
Gelwais i'm côf, adgof oedd,
Hanesion o hên oesoedd;
Ganfod o rai hergod hyll
Du annillyn dân ellyll;[1]

[1] Ignis fatuus.

Drychiolaeth ddugaeth ddigorph,
Yngwyll yn dwyn canwyll corph;
Amdo am ben hurthgen hyll,
Gorchudd hên benglog erchyll;
Tylwyth teg ar lawr cegin,
Yn llewa aml westfa win;
Cael eu rhent ar y pentan,
A llwyr glod o ba'i llawr glân,
Canfod braisg widdon baisgoch
A choppa cawr a chap côch:
Bwbach llwyd a marwydos,
Wrth fedd yn niwedd y nos.
Rho'wch im' eich nawdd (a hawdd hyn)
Od ydwyf angrhedadyn,
Coelied hên wrâch legach lorf,
Chwedlau hên wrâch ehudlorf,
Coeliaf er hyn o'm calon,
A chred ddihocced yw hon,
Fod gwiddon annhirionach
Ei phenpryd yn y byd bâch.
Anghenfil gwelw ddielwig,
Pen isel ddelw dduddel ddig;
Draig aeldrom, dera guldrwyn,
Nŷch gan gas dulas i'w dwyn.
Ac o rhoe wên ddywen ddu,
Gwynfyd o ddrwg a ganfu;
Uwch ei grann y mae pannwl,
Dan lygad dall pibddall pwl;
Golwg, a syll, erchyll oedd,
A gaid yn fwy nag ydoedd,

Ni wŷl o ddrwg un wala,
Ni thrain lle bo damwain da:
Gwynfydu bydd ganfod bai,
Llwyddiant di drwc a'i lladdai:
Gwenai o clyw oganair,
O rhoi'd clod gormod y gair;
Rhingcian y bydd yn rhongca;
A'i chrasfant, arw ddant, ar dda.
Daint rhistyll hydryll, a hadl,
Genau gwenwynig anadl;
Ffŷ 'n yd a fai ffynnadwy
O chwyth ni thŷf fyth yn fwy,
Lle cerddo llesg ei hesgair,
Ni chyfyd nac ŷd na gwair.
Mae'n ei safn, hollgafn, hyllgerth,
Dafod o anorfod nerth:
Difyn, a ffugfawr dafod,
Eiddil, a gwae fil ei fod;
A dwyfron ddilon dduledr,
Bren yw o glwyf ei bron gledr
Dibaid gnofëydd duboen,
A'i nŷch, a chrŷch yw ei chroen:
Gan wewyr, ni thŷr, ni thau,
Eiddo arall oedd orau:
Hi ni wna dda, ddera ddall,
Ni erys a wna arall;
Ein hammorth sy'n ei phorthi,
A'n llwydd yw ei haflwydd hi.
Merch ffel, uffernol elyn,
Heddwch a dedwyddwch dyn;

A methiant dyn a'i maethodd,
O warth y bu wrth ei bodd.
E ddenwyd Adda unwaith,
O'i blâs, a bu gâs y gwaith;
A'i holl lwyth, o'u hesmwythyd,
Trwy hon i helbulon byd;
Llammai lle caid llygaid llawn
Dagrau diferlif digrawn.
Aml archoll i friwdoll fron,
Ac wylaw gwaed o galon;
Gwaedd o ofid goddefaint,
Wyneb cul helbul a haint;
Rho'wn ar ball, hyd y gallom,
Ddichell y wrâch, grebach grom.
Ceisiwn, yn niffyg cysur,
Ddwyn allan y gwan o gur,
A rhoddwn a wir haeddo,
I fâd, pwy bynag a fo;
A'r byd, fel y gwynfyd gynt,
Dieifl i annwn diflenynt:
A chenfigen, a'i gwenwyn,
Ddiffrwyth anfad adwyth dyn
Ddraig ffyrnig, ddrwg uffernol,
A naid i uffern yn ôl.
Aed i annwfn, ei dwfn dwll,
Gas wiber, i gau sybwll;
A gweled ddraig ei gwala,
Mewn llyn heb ddifyn o dda;
Caiff ddau ddigon, a llonaid
Ei chroen o ddu boen ddi baid.

## DARN O AWDL I DYWYSAWG CYMRU.

Ar fesur Gwawdodyn hir.

DWYRE wawr fore, erfai arwain
Dymmawr, dydd eurwawr da ei ddwyrain,
Dyddiaith ar euriaith i arwyrain;
Drudfawr briodawr, Eryr Brydain,
D'wysag llym aerawg llu mirain—DEWI
Dewr RI Lloegr wedi llyw goradain.

Dithau'r Pôr gorau ddirper gariad,
D'wysawg: mawreddawg yn wareddiad
Deyrnwalch, eurgeinwalch, ó rhoi genad
Dygwn, cynnyrchwn cu annerchiad;
Derbyn ddwys ofyn ddeisyfiad—Maon
Drudion dirolion dy oreuwlad.

Cymmer, nid ofer yw ein defod,
Cymmer, anhyber gwyl i'n hebod,
Cuaf wlad buraf ddyled barod
Cymru, rywioglu wir oreuglod;
Cymmer ein dewrner fri'n diwrnod,—cymmer
O ber hyfodd-der ein hufudd-dod.

D.S. Yr achos i'r awdl hon fod yn anorphen oedd i *Oronwy* gael ei darro yn glâf gan y Crŷd, pan oedd yn preswylio yn Walton, yn Swydd Caerhirfryn (*Lancashire*). See Goronwy Owen's letters to Mr. W. Morris.

## DYLEDSWYDD A DOETHINEB DYN,

**Yw ymfoddloni i ewyllys ei Greawdwr; a Translation of,—**

**Through all the various shifting scene**
**Of life's mistaken ill or good,**
**The hand of God conducts unseen,**
**The beautiful vicissitude, &c., &c.**

TRWY droiau 'r byd, a'i wên a'i wg,
Bid da, bid drwg, y tybier;
Llaw DUW sy'n troi'r cwmpasgylch glân,
Yn wiwlan, er na weler.

O'i dadawl ofal, ef a rydd
Yr hyn y sydd gymhedrol,
O hawddfyd, adfyd, iechyd, cur,
Ond da 'i gymhesur fantol?

Pe rhoem ar geraint, oed, neu nerth,
Neu gyfoeth prydferth, oglyd;
Os Duw a'i myn, *Fe*'n teifl i lawr,
A'n rhodres mawr mewn munud.

Os yfaist gwppan lawn o'i lid,
A'th doi â gwrid a gwradwydd;
Od wyt gyff cler a bustl i'r byd,
Fe'th gyfyd i foddlonrwydd.

*Fe* weryd wirion yn y frawd,
Rhag ynllib tafawd atcas:
*Fe* rydd orphwysfa i alltud blin,
Mewn anghynefin ddinas.

Ei gysur *Ef* sydd yn bywhau
Y pennau gogwyddedig;
*Fe* sych â'i law y llif sy'n gwau
Hyd ruddiau'r weddw unig.

Oes dim nac yn, na than y nef,
Nad *Ef* sydd yn ei beri?
Ac *Ef* a roes (gwnaed dŷn ei ran)
Y cyfan er daioni.

Pa raid ychwaneg? gwnelwyf hyn;
Gosteged gŵyn a balchder:
Arnat ti, Dduw, fy ngheidwad glwys,
Bid fy holl bwys a'm hyder,

---

## ENGLYNION,

**I Ellis Roberts, y Cowper:[1] sef, atteb, annerch, a chyngor y Bardd Coch o Fon, i Elisa Gowper, pastynfardd, Llanrwst; yn cynnwys athrawiaeth arbennig i ganu'n dinoerddawl, gymmeradwy, yn ol rheol ac arfer y Gofeirdd godidocaf o'r oes; ynghyd â thaflen o enwau'r holl dreoc, cêr, offer, a pheirianau angenrheidiol i'r gelfyddyd, na cheir mo'r fath mewn un Grammadeg a argraffwyd erioed, a'r cwbl wedi ei ddychymygu a'i gyfansoddi mewn modd eglur, hawdd ei amgyffred gan y gwanaf ei ddysg a'i ddeall.**

Y Bardd frŷ ebrwydd ei froch,—Elisa,
Gan na lysaf mo'noch;
E weddai (er na wyddoch;)
Druan! nad yw 'ch cân ond côch.

[1] Ellis Roberts, y Cowper, a gladdwyd ym monwent Llanddoged, yn agos i Lanrwst, ar y pedwerydd dydd o Dachwedd, 1789. J.W.

Yn fardd, os chwi a fyn fod,—o hirddysg,
I harddu eisteddfod;
I hwylio clêr a hel clod,
Ceisiwch yr holl drecc isod.

Hyd rhaff rawn o lawn linyn,—y seiri,
I fesuro 'ch englyn;
A rhasgl a dyrr bob rhisglyn,
Llif frâs, a chwmpas, a chŷn.

Os hir y gwelir y gân—y llafur
Fydd llifio darn allan;
Wrth y cwmpas gloywlas glân,
Cofiwch, rhaid rhasglio 'r cyfan.

Dylech mewn prifodl ei dilyn,—rhagoch,
Megis rhigol corddyn;
Heb ŵyro lled gwybedyn,
A'r twybil, wiw gynnil gŷn.

Yn fardd glân buan y b'och,—Elisa,
Hwylusaidd y dysgoch;
Doed a ddêl, bid da gwneloch
Anhepgor gyngor Huw Gôch.

**Ond deliwch sylw.**

Os rhaid i byliaid gaboli,—rhigwm,
Rhag im' ebargofi,
Gorau o'r gêr am beri,
Cywreinio cân yw croen ci.[1]

[1] Croen ci môr.

## MARWNAD LEWIS MORYS, Ysw.

**Gynt o Fon, yn ddiweddar o Allt-Fadog yng Ngheredigion. Pen-bardd, Hanesydd, Hynafiaethydd a Philosophydd yr oes a aeth heibio; a gwir garwr ei frenhin, a lles cyffredin ei wlad; a hoffwr, hyfforddiwr a choleddwr ei iaith a'i genedl. Yn yr Awdl hon y mae pedwar mesur ar hugain Cerdd Dafawd, ynghyd a nodau yr Awdur ar rai pethau hynod.**

**Englynion unodl union.**

OCH dristyd ddyfryd ddwyfron!—och Geli!
Och galed newyddion!
Och eilwaith, gorph a chalon!
Och roi'n y bedd mawredd *Mon!*

Mawredd gwlad Wynedd, glod union—ceinwalch,
Cynnor presennolion;
A byw urddas y beirddion
A'u blaenawr oedd Llew mawr *Mon.*

Cyd bai' hirfaith taith o'r wlad hon—yno
Hyd ewynawg eigion;
Trwst'neiddiwch trist newyddion
Ni oludd tir, ni ladd tonn.

Mae tonnau dagrau digron,—i'm hwyneb,
Am hynaws gâr ffyddlon;
Llwydais i gan golledion
Oer a fu 'r hynt i'r fro hon.[1]

[1] **Virginia yn America, lle y mae'r Awdwr yn drigiannol, wedi colli y rhan fwyaf o'i deulu ar y mor wrth fordwyo yno o Lundain, yn y flwyddyn 1757.**

Bro coedydd, gelltydd gwylltion,—pau prifwig,
    Pob pryfed echryslon;—
    Hell fro eddyl llofruddion—
    Indiaid, eres haid, arw son!

Soniais, sygenais gwynion,—do ganwaith,
    Am deg Wynedd wendon;
    Doethach i'm dewi weithion,
    Heb Lewis mwy, ba les *Mon*!

Galar ac afar gofion,—mynych y'nt,
    Man na chaid ond hoywon;
    Ni's deryw ynys dirion
    Loes a fu waeth i lwys *Fon*.

**Cywydd llosgyrnog ác awdl gywydd ynghyd.**

Ni fu'n unig i Fon ynys
Loes am arwyl Lewis Morys,
    Ond erys yn oed ŵyrion;
Ym mhob gwlad achwyniad chwith,
    O'i ran ym mhlith cywreinion.

**Cywydd deuair fyrrion a hirion ynghyd.**

Yn iach oll awen a chân,
Yn iach les o hanes hen,
A'i felys gaingc o flas gwin;
Yn iach imi mwyach ym Môn
Fyth o'i ôl gael y fath un:
Yn iach bob sarllach a sŵn,
Un naws â dail einioes dyn.[1]

[1] Cyffelybai Homer einioes dyn i ddail.

**Un odl grwcca.**

Teiroes i'r mwynwr tirion
O râs Nef a roesai 'n Ion,
O'i ddawn o chawsai ddynion—eu meddwl,
Ar fanwl erfynion.

**Un odl gyrch.**

Er eidduned taer ddynion,
Er gwaedd mil, er gweddi Mon,
Ni adfer Nêr amser oes,[1]
Rhed einioes (nid rhaid unon,)

**Proest cadwynodl.**

Duw a'i dug ef, dad y gân,
Cywir i'w ddydd carodd Iôn;
Yngolau gwlêdd engyl glân,
Yntau â 'n sant, tawn a sôn.

**Clogyrnach.**

Hawdd y gorthaw ddifraw ddwyfron,
Erchyll celu archoll calon;
O ran oer enaid
Diau bydd dibaid
Uchenaid a chwynion.

**Gwawdodyn byr.**

Cair och o'i hunaw, cur a chwynion,
A chaeth iawn alaeth i'w anwylion,
Parawdd i ddinawdd weinion,—o'u colled,
Drem arw ei gweled, drom oer galon.

[1] Felly Horatius, Hæc pietas moram rugis et instanti senectæ offeret indomitæ, morti.

**Dau doddaid.**

Pa golled gwared gwirion—o delmau[1]
Ac o hir dreisiau gwŷr rhy drawsion?
O frŵd ymddygwd ddigon,—y diangodd,
Gwen nef a gafodd gan Nâf gyfion.

**Gwawdodyn hir.**

A fynno gyrraedd nef wen goron,
Dwy ran ei helynt drain a hoelion;
Pigawg, dra llidiawg drallodion,
Croesau, cryf-loesau, criau croywon;
Erlid a gofid i'w gyfion—yspryd,
Ym myd gwael bawlyd ac helbulon.

**Byr a Thoddaid.**

Er llid, er gofid wir gyfion,—ddeiliaid,
    Ef oedd ddilwgr galon;
    Duw a folai da 'i ofalon,
    Siôr a garai îs aur goron,
    Lle ba'i gwaethaf llu bygythion
    Ni chai'r anwir drechu 'r union;
Dra gallawdd, nodawdd i anudon,—dorf,
    Llwyr darfu 'r lledneision.

**Dau Doddaid.**

Bu'n wastad ddifrad ddwyfron—ddiysgog
I'w hydr Eneinniog deyrn union;
Rhyngodd ei fodd â'i ufuddion—swyddau,
A chwys ei aeliau a chysulion.

[1] Hyn, a rhan fawr o'r hyn a ganlyn, sy'n pennodi at ryw ddamweiniau a ddigwyddasant iddo ennyd cyn ei farw; ac nid rhaid i'w gydnabyddiaeth wrth nodau, amgen na'u coffadwriaeth eu hunain i'w hegluro.

Gwawdodyn byr.

Mesurai, gwyddai bob agweddion,
Llun daear ogylch llanw dwr eigion;
Amgylchoedd moroedd mawrion,—a'u cymmlawdd,
Iawn[1] y danghosawdd nid anghyson.

Dau wawdodyn hir.

Daear[2] a chwiliodd drwy ei chalon,
Chwalai a chloddiai ei choluddion;
A'i dewis wythi meini mwynion:
A thew res euraid ei thrysorion,
A'i manylaf ddymunolion—bethau,
Deuai i'r golau ei dirgelion.

Olrheiniodd, chwiliodd yr uchelion,
Llwybrau 'r taranau a'r terwynion;
Fflamawg fellt llamawg folltau llymion—
Is awyr gannaid a sêr gwynnion,
Nodau'r lloer a'i newidion—hynt cwmmwl
O fro y nifwl[3] i for Neifion.

Dau Doddaid—etto.

Ebrwyddaf oedd o'r wybryddion,—hyglod,
A llwyr ryfeddod holl rifyddion!
Traethai, fe wyddai foddion—teyrnasoedd,
Rho'i o hen oesoedd wir hanesion.

[1] Gwel y Mapiau cywraint o arfordiroedd Cymru a wnaeth ar orchymyn y brenin.

[2] Sef pan oedd Olygwr ar fwyngloddiau'r brenhin yn Esgair y-mwyn, yng Ngheredigion.

[3] Bro'r nifwl, neu fro'r tarth, yw yr hyn a eilw y philosophyddion Saesonig ATMOSPHERE.

Gwawdodyn hir.

Honni a gafodd o hên gofion,
Achoedd, dewr bobloedd o dŵr Bab'lon;
Coffa[1] bri ethol cyff y Brython,
Gomer a'i hîl yn Gymry haelion,
Teithiau da lwythau dilythion,—diwarth,
O du areulbarth[2] i dir Albion.[3]

1 Efe a ysgrifenodd dwysgen ar y testyn hwnw; ond pa un ai bod dim o'r gwaith yn argraphedig, nis gwn.

2 Areulbarth, sef Ddwyrain, neu godiad haul.

3 Enw yr ynys cyn dyfodiad Prydain, oedd ynys Albion, a'r Albion hwnw a'i frawd Bergion, a hanoeddynt (fe allai) o lin y Titaniaid neu Celtæ, cynfrodorion Ffraingc a Phrydain, a meibion oeddynt i Neptun, medd Pomponius Mela, ac eraill Awduron Rhufeinig; sef llyngesyddion dewrion, ac agatfydd mor-wylliaid dilesg; yn gymmaint ag mai duw'r moroedd oedd Neptun, a'u gorchfygu eill dau a wnaed, medd yr un Awduron, gan ryw Ercwlff (neu Hercules) nis gwyddis pa'r un, gan fod amryw o naddunt; ef a allai mai pen lluyddwr Ercwlff oedd Prydain, a gorchfygu o hono Albion Gawr, a goresgyn ei ynys, a'i galw wrth ei enw ei hun, YNYS PRYDAIN; fel y galwasai'r llall hi YNYS ALBION o'r blaen; ond coelied pawb y chwedl a fynno.

Nid yw Prydain a Brutus ond yr un gwr i'm tyb i, ni ddadleuaf ar hyn o dro pa un ai gwir yw hanes Brutus, fel y mae ym Mrut y Brenhinoedd ai nad ê; hyn, pa ddelw bynag, sydd ddilys gennyf nas gelwid mo horo Brutus yn ein iaith ni, namyn Prydain; a pha un a'i 'r hwn a eilw ein hanesyddion ni Prydain ap Aedd mawr, ai rhyw un arall o'r un enw, hŷn nag ef, a roddodd ei enw ar yr ynys, nis gwn i, ac ni'm dawr ychwaith; pan yw ddiddadl ei galw ynys Prydain, yn ol enw y gwr a'i goresgynodd, pwy bynnag ydoedd.

Gwawdodyn byr.

A thrin a thrabludd lludd lluyddion
Prydain a'i filwyr, pryd nefolion:[1]
Arlladdiad gad ergydion,—a oryw
A gwaed a distryw 'r giwdawd estron.

Huppynt byr.

Ni chaid diwedd / O'i hynawsedd, } a'i hanesion:
Ni chair hafal / Wr a chystal } ei orchestion.

Tawddgyrch gyfochrog.

Llon wr gwraidd, llawn rhagorau,
Mawrdda 'i ddoniau mor ddiddanion;
Dôf arwraidd, difyr eiriau,
Meddaidd[2] enau, wiw 'mddiddanion.

Huppynt hir.

Glyw defodau, / Eisteddfodau, / A'u hannodau, } a'u hynadon:
Eu cyngreiriau, / A'u cyweiriau, / A chadeiriau } uwch Awduron.

[1] Ef a allai y tybir hyn yn rhy eofn i'w dywedyd am ddyn daearol, er ei laned, eithr araith gynnefin gan HOMER tad yr awen oedd DÆMONIOS, &c. a'r cyfryw; y rhai ydynt o'r un ystyr a phryd nefolion, ac y mae llyfr y Trioedd yn sôn am un a elwid Sanddef bryd Angel, o herwydd ei lendid.

[2] Meddaidd, hyny yw peraidd o'r gair mêdd y daw, fel y daw enwau cynneddfau eraill, yn arwyddocau *cyffelybrwydd*, megis *haiarnaidd*, *llewaidd*, *gwraidd*, o'r geiriau *haiarn*, *llew*, *gwr*; sef yw hynny, tebyg i *haiarn*, cyffelyb i *lew*, fal *gwr*.

**Cadwyn fer.**

Uwch awduron a chadeiriawg—
Bur iaith rywiawg, bêr athrawon;
A chelfyddon uchel feiddiawg,
A'r beirdd enwawg, eirber ddynion.

**Huppynt hir ynglyn a Gorchest y Beirdd.**

Ef oedd Ofydd,[1]
A dywenydd, } hil y Brython.
Hylwybr Ieithydd

Gan wau gwynwaith,
Tlysau tloswaith, } aur wron.
Orau araith,

**Hir a Thoddaid.**

Goleuodd wedi ei gywleiddiadon,—
A gwir hyfforddiant geiriau hoff heirddion,
Athrawai'n fuddiol, a thrwy iawn foddion,
E gaed moes wiwdda gyd â masweddion;[2]
Lle bu'r diddysg hyll brydyddion,—brin ddau
Fe rodd ugeiniau o hoywfeirdd gwynion.[3]

[1] Ofydd, sef yw hwnnw, P. Ofidius Naso, un o brydyddion godidoccaf Rhufain, hynod am serchawgrwydd ei destyuau, melysder ei gynghaneddol beroriaeth, purdeb ei iaith, a gwastadlyfn lithrigrwydd ei ymadrodd; o achos pa ham y galwai ein hynafiaid bob nwyfus gywreinrwydd yn Ofyddiaeth.

[2] Miscuit utile dulci, &c., *Hor.* Nodwch yma, nad yw'r gair *maswedd* yn ei briod a'i gynnefin ystyr, ddim yn arwyddocau serthedd neu frynti; ond yn unig rhyw beth ysgafn, digrif, nwyfus, yn wrthwyneb i bethau dwysion pwysfawr.

[3] Mae 'r Awdur gyda phob dyledus barch i goffadwriaeth Mr. Lewys Morys, yn tra diolchgar gydnabod, mai iddo ef,

Cyrch a chwtta.

Ar y sydd i'r oes hon
Yn fawrddysg awen feirddion,
A gwiw lesfryd i'w glwysfron
Bryd arail i'w bro dirion,
Agos oll y'nt deg, weis llon,
O ddysg abl ei ddisgyblion,
A phoed maith goffhâd a mawl
I'w arglwyddawl ryglyddon.

Cyhydedd naw sillafog chwe ban.

A' thra bo urddawl athro beirddion,
A mwyn dysg wiwles mewn dwys galon,
Gwiwdeb ar iaith a gwaed y Brython,
Ac awen Gwyndud ac ewyn gwendon,[1]
Daear a nef a dw'r yn afon
Ef a gaiff hoywaf wiw goffeion.

Cyhydedd fer.

Aed, wâr enaid, aed, ŵr union,
Aed ragorwalch, diwair, gwirion,

y mae'n rhwymedig am yr ychydig wybodaeth ym marddoniaeth Gymraeg a ddaeth i'w ran; ac yn ffyddlon gredu (nid er gwarth nac er gogan i neb) y gall y rhan fwyaf o feirdd Cymru, ar a haeddant yr enw, gyfaddef yr un peth; ac er nad yw les yn y byd i'r Awdwr mewn dieithr wlad dramor, lle na's deall yn oed ei blant ei hun air o'r iaith Gymraeg, etto mae'n ddywenydd ganddo goffhau iaith ei fam a'i wlad gynhenid yn ei hir alltudedd; a gresyn ganddo na b'ai lle y gallai wneuthur mwy o lês a pharch i'w iaith a'i wlad; ond a fynno Duw a fydd.

[1] *In freta dum fluvii current, &c.* —VIRG.

I fro Iesu fry a'i weision;[1]
I'w gain gaerau a gwen goron.

Cyhydedd hir.

Ac uned ganu, Sant, wiwsant Iesu,
Ef a'i leng wiwlu fil angylion.[2]
Ein dôf Oen difai, lwys wawd El Sadai,[3]
Musig[4] adwaenai ym mysg dynion.

Gwawdodyn byr.

Uned-ganiad eneidiau gwynnion
Llem araith wrol llu merthyron,

[1] Cyffelybrwydd i gân y pedwar anifail, Dat. iv. 8., yr hon a alwai yr hen dadau sanctaidd Τϱιοχυ̃λοι ac a arferent yn yr eglwys filwraidd ar y ddaear ym mhob oes, ac a hyderus obeithient gael uno â chôr y saint bendigedig, i'w chanu yn y nef yn oes oesoedd.

[2] Arferol ym mhob iaith yw rhoi rhif crwn, cyfan, yn lle rhif anwahanrhedol, megis cant yn lle bagad, mil yn lle lliaws mawr a'r cyffelyb, pan fynid arwyddoccau llawer, ond na wys pa nifer.

[3] El Sadai, אל שדי un o enwau Duw yn Hebraeg, yn atteb yn union i'r gair Groeg, Παντοκράτωϱ yn Dat. iv. 8. a chymharu Essay vi. 3. â Hollalluog neu Hollddigonol a arwyddoccâ. Cof yw gennyf mewn rhyw ymddiddan â Mr. L. Morys, y mynnai ef mai Cymraeg oedd El Sadai, sef, a all sydd dda, ac yn wir nis gwn pa sut well y gellid ei gyfieithu.

[4] Nid wyf yn tybied y cair mo'r gair musig yn nemawr o'r Geirlyfrau Cymraeg; eithr nid wyf yn ammau nad oedd yn arferedig yn yr iaith er yn amser y Rhufeiniaid: pa ddelw bynnag, fe'i harferodd Lewys Morganwg, er ys gwell na deucan mlynedd, yn ei Awdl wrth Leision, Abad Glynn Nedd: *Arithmetic, music, grymusion, &c.*

Ni ludd gweli, ni ladd gâlon—ei grym,
Nac ing croywlym, nac angau creulon,

**Dau wawdodyn hir.**

Gwedi caledi, cyni, cwynion,
Artaith, erchyllwaith ac archollion,
Gwaed ffrau a ffrydiau, dagrau digron,
A chûr marwol, a chriau mawrion,
Gwyarlliw, fraenfriw oer frwynfron—nid mud
Mawl cain côr astud mîl can cristion.

Eiddunaf finau Dduw Nâf union,
Allu i'm uno â'u llu mwynion,
Prydu i geisio perwawd gyson,
I lwyswawd eirioes Lewis dirion,
Cywyddau, cu odlau cydlon,—ganu[1]
Lle myno Iesu—lleu Monwysion.

[1]Cydlon ganu, h.y. *llon gyd ganu* wrth y ffugr neu'r dull ymadrodd a eilw y grammadegyddion Τμησις ac a ellid ei galw yn ein iaith ni yn wahaniad neu toriad, fel y mae yn VIRGIL, *Inque Salutatem linquo*, yn lle *insalutatem*, &c.

Yr Awdl hon a gant GORONWY OWEN, Person *Llanandrea*, yn swydd *Brunswic*, yn *Virginia*, yn y Gogleddawl *America;* lle na chlybu, ac na lefarodd hayach ddeng air o Gymraeg, er ys gwell na deng mlynedd.

Gorphenaf 20, 1767.

---

Gresyn myn'd hygar oeswr,—godidawg,
Dadawl ymgeleddwr
Ei iaith, a'i daith dros y dwr
Mawr acw, 'n Americwr.

O. W.

## ENGLYNION I TWM SION TWM,[1]

A'r arddwrn mawr.

—o—

Englynion proest cyfnewidiog wyth ban.

Twm Siôn Twm y cidwm cas,
Twm Siôn Twm, blerwm heb les;
Twm Twm, os codwm os cis,
Twm achrwm a glwm ei glôs,
Twm Siòn Twm, ruddlwm, ni rus,
Twm Siôn Twm drwm droi'r draws,
Twm Siôn Twm grwm yn ei grys,
Twm Twm! y cawr hendrwm hys.

Twm Siôn Twm bendrwm mewn bad,
Twm â rhwyf ond twym y rhêd,
Twm i'r lan hwnt a mawr lid,
Twm a nawf attom i'w nôd,
Twm yw'n tŵr bob tam o'n tud,
Twm o ainge yrr Ffraingc i'r ffrwd,
Twm Twm a bottwm i'r byd,
Twm freichdrwm, i Dwm dyd! dyd!

Twm Siôn Twm bonwm a'i bar
Twm Siôn Twm gidwm a'i gêr,
Twm lân yw tarian y tir,
Twm o thrŷ câd fad i for
Twm yn un cwrwm a'i cur,
Twm ddistaw o daw o'r dw'r,
Twm fwyn yn addfwyn i'w Nŷr,
Twm ffraeth i'ch gwasanaeth, Syr.

[1] Twm Sion Twm, was a noted Bruiser, near Dulas in Anglesey, L. M.

## AWDL,

**Yn ol dull Meilir Brydydd, pan gant i Drahaiarn vab Caradawg, a Meilir mab Rhiwallawn, yn iawn ysgrivenyddiaeth y Gogynfeirdd.**

**Y Bart Du a gant yr Awdyl honn, yn y Lluyt y Llas, Gwilym vab Hywel.**

YOLAFI Naf o Nef im noddi
Yolaf nys tawaf pa les tewi
Am vap Hywel hael hywaet vyg kri
Tawel vap Hywel o hil cewri
Dybryd vym pryd ym pryderi lawer
Am goryw bryder brutieu Sibli
Mi os canaf a syganai hi[1]
Neut (namwyn kelwyt) ti nym coeli
Celwytaw ceuawc eu broffwydi
Bob nos a dyt a fyt yth siommi
Gorpwyui dank ken trank a Duw tri
Tawaf nys doraf onys dori
Vyg geneu diheu diheur vi ith wyt
Ys celwyt ni lwyt ny lut drychni
Map Hywel gochel gyrch cymhelrhi
Er a doyttynt gynt geu broffwydi
Cyd bwynt hyd nenawr yth uawr voli
Gweckry eu geirieu geu a gwegi
Pan lat lat letir a llauyn llauyn llabir
Yno y gwelir pwy a goeli
"[2] Cet buyf gwir nyt goreu vi o nep dyn
"Y disgogan hyn o gryn gredi

[1] Chwi a welwch nad oedd Sibli yn gwisgo dim clôs; Sibylla oedd hi, mae yn debyg. [2] Geiriau gau broffwyd yw y rhai hyn.

"Mal marchawc berthawc yt ymborthi
"Mal gwron dragon dreic eryssi
"Yg gwynias lleas Llew a fethri
"Ar yr asp yr yspys dechreui
"Osswyt yn fwyr a lwyr lethi
"Ny ryberis nef nep i'th dofi
"Nyth rybar amhar ymhwrt beri
"Ny digawn kadyr cyhydrec a thi
"Er gwythuawr reityawr ny roti uram
"Neut ny maccwys mam map a dori."
Andaw di breityawr brytest Sibli
Rinyeu ei geneu diheu dybi
Yn a egorwyf gwirion wyv i
Yn ethryb casswir pam ym cessi?
"[1] Dieu y dybyd dyt dyuysgi
"A rewin a thrin a thrwst ynni
"A phan yssic lluric llwyr wae di
"Can pan yssic lluric llaur a ly
"Diffeith woleith o wael dyli a gai
"A chyn tervyn mei mawr egrygi
"Neu dygyvyd Llew llawn gwrhydri
"Lleweit arwreit eryr cymmri
"Yn wng digyurwg digyurag a thi
"Titheu gan ei dwrf a lwrf lechi
"Cyn nos gwener disgoganaf vi
"Ucher yth later ti ny leti
"A chan anreith gwoleith gwael dy uri
"Diardwy abwy abar fyti
"Esgyrn dy syrn hyd Sarn Teivi a grein
"A byt lawen urein ar uraen weli."



[1] Geiriau Sibli yw y rhai hyn,

## AWDL COFFADWRIAETH
AM
# Y PARCHEDIG GORONWY OWEN,
**Gan DEWI WYN o Eifion.**

GWNA, Awen, yn egnïawl,—loyw weisgi,
Felus-gerdd hiraethawl,
I ORONWY ŵr unawl,
Gynt o Fôn, a gant wiw fawl.

Awdurol goffadwriaeth—o urddas
I arddwr Barddoniaeth;
Addurn ei areithyddiaeth
Oedd ffrŵd o gynghanedd ffraeth.

Diwyd ydoedd yn dëawr,—o'i fynwes,
Wiw feini tra gwerthfawr;
O'i law wèn yn loyw ei wawr,
Mewn mynyd daeth maen mynawr.

Ei genedl a ddigonodd—almariau,[1]
A mêr-wawd a huliodd;
Mêl a gwîn llawn rhîn yn rhôdd
O'i fronau a gyfranodd.

Ffynon o werthfawr hoff enaint—eilwaith
Ni welwyd ei chymmaint;
Tarddodd o hon (bron er braint)
Loyw foroedd o lifeiriaint.

[1] Gwn nad yw y gair "*almariau*" i'w gael yn ein geirlyfrau, nac yn gytunol â'r gynghanedd, y mae'n debygol mai rhyw air arall a ddefnyddiasai, neu a amcanasai yr awdwr; ond pa air, nis gwyddom.

Pum mwy addysg pe meddwn,—gwiw rinwedd
Goronwy mynegwn;
Ei fawl haeddawl cyhoeddwn,
Ar hyd yr holl-fyd mawr hwn.

Drwy 'r ddoniawl dra hardd Ynys—gwiw arddel'
Ei gerddi yr ydys:
Coelbrenau (lampau di lŷs)
I dori dadlau dyrys.

Telyn oedd yn ein talaith,—a'i mesur,
A'i *musig* yn berffaith:
Ei gerddi gleiniawg urddwaith,
Blawd aur ynt, blodau yr iaith.

Pybyr abl iawn eryr bri blaenoriaeth,
Un dewr i gyraedd hynod ragoriaeth:
Disglair, a dewis gadair dysgeidiaeth,
Campau a rhinweddau'r awenyddiaeth.

Traethai Goronwy, trwy waith gwyrenig,
Am newidiadau mwya' nodedig;
Gwyddai gylchoedd y bydoedd gwibiedig,
A llewych y rhodau llacharedig.

A thynged daear galed, a'i dirgeloedd,
A naturiaethau hynota', a'r ieithoedd,
Rhëolau 'r lleuad; yr haul ar holl luoedd,
Crëaduriaid gloywon crwydredig leoedd.

Tra hanesiol fu am y teyrnasoedd.
A'u treigliadau, eu tir, a'u goludoedd:

Mewn gwîn odlau am hên genedloedd,
D'wedai eu gwychion odidog achoedd,

Mwyn gain wawdydd, mynegai'n odiaeth,
Am y Derwyddon a eu medryddiaeth,
A'u haddas godiad i wiw ddysgeidiaeth,
Gan hoyw nofio uwch eigion hynafiaeth.

Hanesydd a phrydydd ffraeth,
Gloyw ddifeinydd celfydd coeth,
Gwiw a mŷg weinidog maeth,
Y dwyfol air disglaer doeth.

A gwiw gain addurn gogoneddus,
F' eiliai lawenaf fawl haelionus
O ei ddwys galon ddiesgeulus,
I Dduw nefolaidd yn ofalus.

Ei ganiadau gwiw a hynodol,
Enwog o synwyr yn gysonol,
Ynt gyflawn o feriawn anfarwol,
A dewr hediadau awdurdodol.

Eiliai GORONWY liwgar enwawg,
Odlau digoll diwael hedegawg,
Yn ail i ARTHUR ddoniol wyrthiawg,
Neu 'n ail LLYWARCH HEN alluawg.

Celfydd dafodrydd fydrwawd,—lais anwyl
A seiniodd â'i dafawd;
Yn ddifai eiliai folawd
O ddwyfol sylweddol wawd.

Ffrwyth rhywiog osglog a gesglir—odiaeth
Dda oruchafiaeth a ddyrchefir:
Gwin melus a ganmolir—G'RONWY ffraeth
A'i wir Ofyddiaeth a ryfeddir.

Iaith Gomer a'i theg èmau,—o bob iaith,
Tra bu byw yn orau,
Hon a garodd, enwog eiriau,
A'i godidog wiw gydiadau,
A'i choronog iach hoyw rînau,
Ei thêg ruddyn coeth a'i gwreiddiau,
Ei phrif oludoedd a'i phêr flodau—cain
Wir gywrain ragorau.

Elfen ei Awen loyw fenywaidd,
Lon, eres, oleu, wen, risialaidd,
Oedd gwau sain foddog, iesin, feddaidd,
Bêr a dewisol baradwysaidd.

Ei gywir, wresog Awen,—loyw èmog,
Dychlamai drwy'r wybren,
Seiniai, chwibianai uwch ben,
Fal ëos nefol lawen.

Asgenawl ydd esgynai—yn ffrochwyllt,
Hôff wreichion gwasgarai,
Heb lèn drwy 'r wybren yr ai,
Ar gerub hi ragorai.

Yn ei gân deg o'r lâna'
Cair bryn goruwch dyffryn da,
A maenol gerllaw mynydd,
Weithiau'n fôr maith iawn hi fydd.

O gu lem wiw golomen,—gèm aur dêg,
Cymmer daith trwy'r wybren,
Manol chwilia, fy meinwen,
Am ail y Bardd hardd a hên.

Trwy ddyffryn tiredd Affrig—heb arddel,
Ond beirddion dysgedig,
Gwaelod Asia dda heb ddîg,
Cwm Ewrop ac Amerig.

Ydwyf wedi, dewr ymholi,
'N daer am haeledd,
Ond er teithio, neu er chwilio
'N hir, a choledd,

Ni cheir cydmhar i'r bardd llafar,
Ar y ddaear i'w orddiwes:
Nid oes elfydd i'r awenydd,
O ymenydd hoyw a mynwes.

Bro Gwalia odidog, bêr, glodadwy,
Trwy ei hardaloedd tra rhêd Elwy.
Tra llef dwfr-dwfn, tra llifo Dyfrdwy,
Trwy oesawg genedl, tra sïo Conwy,
Ni cheir, ofnir, meddir mwy—ysblenydd,
Wiw, liwgar awenydd ail Goronwy.

Rhagorol seren olau,—huan mawr,
Yn mysg y planedau;
Cedrwydden aeg wen yn gwau,
Y'nghanol y canghenau.

O! lân wen gân yn gwenu,
Yn canlyn mae dychryn du,

Clwyf saeth! Och! clywaf ei sî,
A chyllaeth yn archolli.

Pôr da hynod, geirwir, Prydeiniaid a garodd,
Ond trwy naws ymadaw o'n teyrnas symudodd,
Tros Atlantic i dir Americ draw moriodd;
Goruwch eigion Neifion ewyngroch, gwiw nofiodd,
I wlad y Gorllewin, loyw dêg ŵr, y llywiodd,
Trwy odiaeth Ragluniaeth ar y tir dieithr glaniodd.

Cymru flin ar fin mawr fôr,
Galarus ei gwael oror.
Ei haul hoff araul a ffodd,
O'r golwg draw e giliodd,
Machludodd a rhodd aur hïn,
Iarll hoywaidd i'r Gorllewin.

O! G'RONWY deg o ran dysg,
Gwêl dir dy dad yn wlad lesg,
Cymru flin acw mor floesg,
A'i Barddoniaeth mewn gwaeth gwisg.

Tir Môn glau mewn trwm iawn glwyf,
Duoer nŷch o'th fyn'd ar nawf;
Yn gaeth hi wnaeth yn ei nwyf,
Wyneb prudd am ei maen prawf.

Dïameu o'u fyn'd ymaith,—hynt wallus,
Tywyllwyd ein talaith,
O ddiffyg ei dda effaith,
Gwywo, marweiddio mae'r iaith.

Pan giliodd huan golau—e dd'rysodd
Yr iesin blanedau;
Yr wybren eglurwen glau
Wnai ollwng ei chanwyllau.

I'r urddedig dorf ddysgedig,
Loyw Wyneddig, lawen addas,
Ei brif odlau fyddent flodau
Eu da gyrddau, wiwdeg urddas.

Ond er gofwy, du safadwy,
Dwys ofidiant,
Yn deimladwy am ORONWY
Y merwinant.

O'i wir abl nodded rai blynyddau,
Enrhyg a yrodd yn rhagorau,
O wresog oludog eiliadau
Bywiol, adref o'i wiw belydrau.

Ond er's dyddiau, a ni 'n dristeiddiol,
Mud yw'r hyddysg ŵr ymadroddol;
Ei eirioes hanes, mae'n resynol,
Yma ni feddwn, y'm anfoddol.

Ai gwyll du sy'n gallu dal,
Y gwresog loyw-lamp grisial?

Ai tymhestl o wynt damwain—adeiniog
Fu'n dwyn G'RONWY OWAIN,
Tra 'r ym ni heb sï ei sain,
Mor wywedig yn Mrydain?

O Fardd! am dano gwae fi
Fy nygiad i fynegi.

Am ORONWY OWAIN trwm yw'r newydd,
Sy gredadwy, goeliadwy drwy'r gwledydd;
Y gair du 'n benaf a gredwn beunydd,
Heddyw marwol ydyw'r mawr wyliedydd.

Weithion fy nharo wnaethost,
O glywed hyn ceis glwy' tost.

Y fynwes gan riddfanau—oer iawn yw,
A'r wyneb yn ddagrau;
Trwy iâs dost yr wy'n tristâu,
Merwino mae fy mronau.

Am farw G'RONWY, ŵr myfyrgar union,
Mawr o goddiant i'r holl Gymreigyddion;
Y mae eu cenedl yn drom eu cwynion,
A du oer alaeth daearolion,
Gwlŷb o'u dagrau yw'r Glôb dew-grom—gan gaeth
Gur hir, a chyllaeth, a geirw archollion,

Wedi huno 'n hynodawl,—a darfod
Ei yrfa ddaearawl,
O fro 'r gŵg aeth fry i'r gwawl,
O rhoddes grêd gyrhaeddawl.

I noddfa awenyddfawr—ei thannau,
Aeth enaid y cantawr;
Rhoed harddwch ei lwch i lawr,
Tir Amerig, trom orawr.

R

Mewn cauedig gell glöedig,
  Lle egredig, yn llygradwy;
Yn mhriddellawg, waelod lleidiawg,[1]
  Bedd graianawg, bydd GORONWY.

Nes dêl yr Oen (naws dawel wyrenig)
I nôl ei ddyweddi anwyl ddiddig,
A'i air i'w chyfodi 'n dderchafedig;
Yn Sïon eglwyslon glau,
Yn anwyl caffer ninau,
Yn gyflawn o'r ddawn bêr ddoeth,
Adeiniawg a di annoeth,
Newydd feluslon Awen,
I wau emynau, Amen.

---

## ENGLYN

### ER COFFADWRIAETH AM Y PARCH. GORONWY OWEN.

CANAI Awdlau Cenedloedd,—ac iddo
  Rhoed Cywyddau'r nefoedd;
Angel i wneyd Englyn oedd,
Mawr awdwr Cymru ydoedd!

DEWI WYN.

[1] Yn y cyn-argraff "*beidiawg*" yw y gair yn y lle uchod; eithr gan nad yw ystyr y gair hwnw yn gydred â'r frawddeg, odid nad gwall ydoedd.

## AWDL COFFADWRIAETH

AM

# Y PARCHEDIG GORONWY OWEN.

**Gan THOMAS EDWARDS, o'r Nant.**

1. Unodl union.

OCH! Och! o'n byd uwch erchwyn bedd,—torwyd
Pen tŵr y Gynghanedd,
Och! Ganwyr, yn iach Gwynedd,
Nid *Arfon* na *Môn* a'i medd.

Nid *Dinbych* ranwych, rinwedd,—na *Meirion*,
*Mirain* gerdd gyfrodedd;
Gwagle, *Deheu* a *Gogledd*,
Am hwn fu, mae heno i'w fêdd.

Ganwyd a magwyd ym *Mon*,—trafaeliodd
Trwy filoedd o *Saeson*;
Carodd, tra fu 'mhob cyrion,
Ac amryw barch Gymru 'r bôn.

Llong oedd ê, garie 'n gywre'n,—bell drysor,
O bwyll draserch Awen,
*G'ronwy* graff, haul-braff, hwylbren.
A llyw 'r beirdd, llew aur ei ben.

Ca'dd Awen burwen yn berwi,—a thân,
Doethineb Duw ynddi,
*Seraphim*, roes er hoffi,
Farworyn i'w henyn hi.

O'r nefo'dd trefnodd Duw Tri,—i '*Ronwy*,
Rinwedd cân goleuni,
Ac eilwaith at ei *Geli*,
Aeth mewn hedd oddi wrthym ni.

2. Proest gyfnewidiog.

*G'ronwy* ddu, gu rinwedd ŵr,
G'ronai Dduw 'n gywrain wedd aer,
Gwehydd oedd, ar gyhoedd wir,
Gwell na neb, mae 'n gwall ni 'n oer.

3. Proest gadwynog.

Gwall i Feirdd, oedd golli fath,
Gwall i fod nas gwella fyth,
Gwall a briw, drwy gylla brath,
Golli congl-faen, sail-faen syth.

4. Unodl grwca.

Colled galed y gwelir,
Fawr a thost ar for a thir,
Am ŵr cywrain, mawr y cerir, ei waith,
Perffaith araith eirwir.

5. Unodl gyrch.

Bugeiliwyr heb argoelion,
O'i ras ef, sydd yr oes hon,
Mae mwy *Babel* gaf'el gaeth,
Heno 'sywaeth nâ *Sion*.

6. Deuair hirion.

Rhedeg maent i'r anrhydedd,
Nerth yr aur, yn aruthr wedd.

7. Deuair fyrion.—8. Ac Awdl gywydd, y'nghyd.

Cyf-wlith cyflawn,
O Dduw a'i ddawn,
*Gem* fwy gwych, na'u haur-ddrych hwy,
A wnai '*Ronwy* 'n wr uniawn.

9. Cywydd llosgyrnog,—10. A thoddaid y'nghyd.

Gair Doethineb yw'r dêth *Ynad*,
Garai *G'ronwy* 'n gu arweiniad,
Mewn tywyniad daiónus,
Ni chaid un, â cho dawnus, brydyddai,
Yn nhro y dyddiau, mor anrhydeddus.

11. Gwawdodyn byr.

Er y cafodd, ryw arwa cofion,
Ruthrau llidiog hir, a thrallodion,
Ef a dynai fywyd union, mawl mydr,
Wir haul belydr, o'r helbulon.

12. Gwawdodyn hir.

Duw a'i dysgai, â diwyd osgedd,
Fal aderyn a'i folawd eurwedd,
Tan ei *Nennawr*,[1] tôn iawn anedd,
Bodlon enaid, heb edliw 'n un-wedd,
A'i glod yna, gael adanedd,—Duw
Uwchlaw *diluw*, a chlwy dïaledd.

13. Byr a Thoddaid.

Maith, maith, a rhy faith, O! rhyfedd,—daith hên,
Doethineb Duw'r mawredd,
Dwyn y cyfiawn, doniau cyfwedd,
Cyn y drygau cwyn daer agwedd,

[1] Cywydd y Nennawr.

Cwympai *Seren*, campus arwedd,
Enwog eglur yn y Gogledd,
Sef *G'ronwy*, syw fŷg rinwedd,—gwymp gwâr,
I'r ddaear oer ddiwedd.

14. Hir a Thoddaid.

Afiaeth goleddwr, Ow! Ow! fe'th gladdwyd,
*Piler* iaith wreiddiol, Ow! pa le 'th roddwyd?
I fŵth ogof angeu, fe 'th gyfyngwyd,
Dan dô yr *estron*, d' awen di rwystrwyd,
Och! fawr '*Ronwy*, na chyfranwyd,—it' fedd,
Ryw fynwent *Gwynedd*, er faint a ganwyd.

15. Huppynt byr.

Trwm ochena'd, }
Oer dô dyniad, } ar dy dônen;
Gan estroniaid, }
'Mericaniaid, } mawr eu cynen.

16. Huppynt hir.

'N Llan Andrëas, }
Rwygiad rŷ-gas, } bridd daearen:
Bwriwyd oer-ias, }
Ar y benglog, }
Anwyl enwog, } Llwybr i Awen.
Lle bu rywiog, }

17. Cyhydedd fer.

Och! Och! '*Ronwy* 'n iach wŷch rinwedd,
Och! wae rwygiad, a chwerw agwedd,
Byr ddi-warthu'n Bardd eorthedd,[1]
Rhoi'n pôr addfwyn yn y pridd-fedd.

[1] Astudrwydd.

18. Cyhydedd hir.

Dawn gyflawn goflaid,
Grothawg blethawg blaid;
O'i wasg euraid, a esgorai,
Cawg *mêl* oedd côg Môn;
Llawnder têr tirion,
Olew o'i fêrion a lifeiriai.

19. Cyhydedd nawban.

Gwin gwyn ydoedd ei gain ganiadau,
A'i gerdd fawledig, fel gardd flodau,
Wawr awdurdodol, aur dewr didau,
Ddwbl, waith hoywdeg dda blethiadau.

20. Clogyrnach.

O! mor onest arwest eiriau,
Ei sain araul a'i synwyrau;
Caerog waith cywren,
Mydr maith, hoyw-iaith hên,
Wiw awen a weuai.

Cyrch a chwtta.

Duw *Gronwy*, dêg arweinydd,
'Roes y gâniad wrês gynnydd;
A'r Duw hwn, *Iôr Dihenydd*,[1]
Allai wanu'n llawenydd,
Dwyn *Gronwy* 'n dawn garenydd,
Sain fwyn i *Sion* fynydd;
I wau'n glîr wiw awen glau,
Er da ddoniau'r Diddanydd.

[1] Dan. 7. 9.

19. Corchest y beirdd.

Gweuad, gywir,
Gariad, gair wir, } yn deilwng:
Yna delir,

I'r Iôn, wir bawl,
Dda dôn, ddi-dawl, } heb gyfwng.
Gyfion gu-fawl.

20. Cadwyn fer.

Côr sy'n cyraedd, cair sain cariad,
Nef wir eiliad, nwyf araulwedd,
A dewr gynnedd, daear ganiad,
Wnan' ennyniad, yn Nuw'n unwedd.

21. Tawddgyrch gadwynog.

Iawn foladwy, awen flodau,
'Bo dafodau, byw'n dyfadwy,
Tra safadwy, tros fywydau,
Goeth gu ranau—fydd gwaith *Gronwy:*

A'i waith ethol,
Yn dragwyddol, } cywrain ofwy:
I'r côr nefol,

Rhan o'r unol,
'Wenydd wa'nol } a feddiannwy'.
I fyw'n ddoniol

AWDL COFFADWRIAETH

AM

# Y PARCHEDIG GORONWY OWEN.

**Gan GUTYN PERIS.**

Briw! braw! brwyn![1] mawr gwyn gaeth!—
bradwy,[2] yn awr,
Brydain wen, ysywaeth!
Dros Gymru llenn ddu a ddaeth;
Anhuddwyd awenyddiaeth.

Och! och! ys gorthrwm ochain—mawr ynof
Am Oronwy Owain;
Pêr wawdydd, Prif fardd Prydain,
Sŷ ŵr mud, îs âr a main[3].

Carwr, mawrygwr Cymreigiaith—ydoedd;
Awdwr prif orchestwaith,
Wrth wreiddiol rëol yr iaith,
Braw farw hwn, brofwr heniaith.

Meddiannydd mwy o ddoniau—ac awen
Nag un yn ei ddyddiau:
Prydai gerdd (pan'd[4] prid[5] y gwau?)
Gyson, heb ry nag eisiau.

[1] Trymder. [2] Drylliedig. [3] Meini. [4] Pa ond. [5] Hoff.

Yn iâch awen a chywydd!
Darfu am ganu Gwynedd:
Duw anwyl! rhoed awenydd
A doniau bŷd yn y bêdd!

Ow! dir Mon, wedi rhoi maeth—i esgud[1]
Wiw osgordd[2] gwybodaeth:
Och! ing a nŷch! angau wnaeth
I fro dewrion fradwriaeth.

Diwreiddiwyd ei Derwyddon,
A'i Beirdd sad: mae yn brudd sôn!
Gwae'r ynys, aeth Goronwy;
Ni bu ei fwy neb o Fôn.

Prif flaenawr mawr yn mhlith myrdd
O awduron hydron,[3] heirdd;
Bydd gwastad goffâd o'i ffyrdd
Yn oed bŷd, ynad y beirdd.

Gorawen[4] nef i'r gŵr nod:
Uwch Homer cerddber y caid;
A chyson gathl[5] uwch Hesiod,
Goreugerdd feirdd y Groegiaid.

Llyw barddas[6] uwch Horas hên,
A Virgil gynil ei gân;
Er rhwysg Rhufein-feirdd a'u rhin,
Gŵr o enw mwy G'ronwy Môn.

[1] Dyfal. [2] Ceidwadon. [3] Cedyrn. [4] Llawenydd. [5] Caniad.
[6] Cân hanesiol.

Bu yn hyddysg arwyddfardd bonheddig:
Coffai hên dreigliadau dirgeledig
Brython, a'u hachau, raddau mawryddig.
Chwith, hylaw athraw a'i chwe' iaith lithrig,
Bod yn ei ôl; byd anelwig! mwyach—
Yn iâch! ni wys bellach hanes bwyllig.

Tlysach na gwawd Taliesin—yw ei waith,
    Neu araith Aneurin;
    Mwy ei urddas na Myrddin;
    Ac uwch Dafydd gywydd gwin.

    Edrychais, ymdreuliais dro,
    Am raddol gymmar iddo,
    Trwy fawr gyrch,—tra ofer gais:—
    Ni welais:—traul anolo.[1]

Ni bu Frydain wén heb fawr radau
Yr awen fawrwyrth er yn forau,—
A choffa hoenwawd[2] i'w chyffiniau
Gan dderwyddon, mwynion emynau,
A beirdd uniawn, ewybr[3] ddoniau;—enwog,
Syw,[4] aurdorchog, odidog deidiau.

Goronwy gŵr hynod o'r pendodau,
Ebrwydd lafurwyr yn eu beirddlyfrau:
Odid o'r beirddion, diwydion dadau,
Y bu un awdwr yn ei benhodau,
Mor ddestlus, fedrus fydrau,—mor berffaith
Mewn iaith, iesin[5] araith, a synhwyrau.

[1] Anfuddiol. [2] Llawengerdd. [3] Cyflym. [4] Dysgedig, doeth. [5] Teg. [6] Difai.

Manwl a digwl[1] y gweinidogodd;
Hud[2] a gorddwy[3] a phob gwyd[4] gwaharddodd;
Rhagfarn, rhagrith, a gaulith[5] ogelodd;
A mawl Iôn i blith dynion a daenodd;
Ac iddynt efe gyhoeddodd—yn dwr
Enw y Creawdwr, i'r hwn y credodd.

Er trallodion, gofalon filoedd,
Bu lawen dirion mewn blinderoedd,
Gan wir gofiaw llaw a galluoedd
Duw Iôr i'w weision, hyd yr oesoedd:
Ei awen bêr o'r dyfnderoedd—isel
Ehedai'n ufel[6] hyd y nefoedd.

Bu tra chyweithas bob tro chwithig
Yn hynt ei fywyd, fyd tarfedig.[7]
Uthrol[8] dro nodol dirwynedig
Troi o'r blaenawr mawr i Amerig:
Truenus beirddion, tra unig—o'i ôl:—
Tra niweidiol fu'r tro enwedig.

Yma y poenwyd am y penial;[9]
Yntau wrda hwnt[10] o'i ardal
Yn bwrw einioes mewn bro anial:—
Trwm o'r ddwyochr, tramawr ddïal!

Trymaf tremiad,[11] }
Breuddwyd irad,[12] } Briddo dewrwas

[1] Difai. [2] Hudoliaeth. [3] Trais. [4] Pechod. [5] Gaugrefydd. [6] Tân. [7] Chwaledig [8] Rhyfeddol. [9] Ffel-graff, a synwyr-lym. [10] Draw. [11] Golygiad. [12] Gresynus.

Yn Virginia, } 'n Llan Andreas.
Llîn hên Droia, }

Budd na chyfoeth na bêdd ni chafodd
O'r eiddo Môn, er a ddymunodd:
A Duw er hyny da y rhanodd;
A fa'i orau iddo ef rhoddodd:
Duw eilwaith a'i didolodd—o'r bŷd trŵch :—
Ei Nâf i degwch nêf a'i dygodd.

Yn iâch! anwyl wŷch ynad,—oedd ddichlyn
I'w ddwy uchel alwad;
Ffuraf[1] Fardd ac Offeiriad :—
A throm och am athraw mâd![2]

Pregeth ryfedd o'i ethryb[3]
In' och'lyd ein uchel dŷb.
Daearwyd ê i orwedd,
Lle yr awn oll yr un wêdd.
Pa fodd hyn? pwy a fydd iâch,
A'i dyfiad o waed afiach?
Un dawn rhag angau nid oes :—
Ei ran yw dwyn yr einioes.
Daear i ddaear ydd â :—
Ond awen, hi flodeua.

Er rhoi yn isel wir hanesydd,
Dewin dwnad, tyf dawn dywenydd
Yn egin o'i weryd, yn gain[4] irwydd;
Blodau'r iaith yw ei waith, wiw ieithydd;

[1] Doethaf neu ddysgedicaf. [2] Da. [3] O'i herwydd. [4] Têg.

Eirioes[1] gan bob oes bydd—ei ganiadau
I'w geneuau fal y gwin newydd.

Tra rhedo haul yn nen ysblennydd[2]
Y rhêd ei fawl, ŵr di hefelydd;[3]
O dâd i fâb, dweud a fydd—moladwy
Am Oronwy, mawr ei awenydd!

Ofer o'i herwydd fawr hiraeth:—pwyllwn:—
Na wylwn o'i alaeth:
Llawer iawn gwell y lle 'r aeth,—
Fro dirion ddi fradwriaeth.

Gwlâd nêf ei haddef[4] heddyw,—
Trefad[5] awen fad nef yw.
Anwylfardd yn ei elfen,
Ni thau a mawrhau y Rhên.[6]
Mae'n yspryd tanllyd, unllef,
Un llawen hoen a llu nêf,
Yn gwau mawl i'r bythawl ben,
Duw y duwiau Dâd awen.

[1] Hardd. [2] Disglaer. [3] Digyffelyb. [4] Cartref. [5] Trigfa.
[6] Arglwydd.

## AN ODE

**Written from Pwllheli to Mr. Richard Rathbone, at Llanystumdwy, about the middle of the Year 1742.**

O Viro nullos mihi post sodales
Musa, dilectô, pariterque fido,
Gaudium, quæso, refer & salutem
Resque secundas.
Forte si quærat, quid agam? resolves
Mente non firmum, reliquis valere,
At mihi memet minus esse gratum
Absque sodale.
Deinde, si causam (pudet ah! fateri)
Postulet, nomen, tacitè, Philippæ
Auribus manda, simul & susurres,
Flagrat Amore.
Dic ut infirmum mihi pectus ardet
Anxio, quales patiorque luces,
Nocte quî somnus fugit, utq; rodunt
Pectora Curæ;
Regna narrabis Veneris superba,
Heu! nimis sævos puerique lusus;
Adde, sed forsau liceat bibendo
Fallere curas.

## REGET PATRIIS VIRTUTIBUS ORBEM.

**Sef Cyfieithiad yn Lladin o waith Cristopher Smart.**

Phœbe Pater, qui mellifluas Heliconis ad undas,
Dulcia divinæ fundis præcepta Thaliæ,

Lingua sacras sedes, & jam Majora canenti
Aspira, radiisque diem melioribus orna
Sed quid opem hinc quæram, nostris in vallibus amnes
Dulce sonant, nostris in Montibus Augur Apollo
Regnat, & indigenas jactat quoq; *Cambria* Musas.
Salve, sancte dies, quo solvimus annua cuncti
Gaudia, adorantes nostrum de more Patronum.
Et Tu, qui patrem vitâ virtute redonas,
Quique ornas titulos, decus & superaddis honori.
O salve ante omnes salve, celeberrime *Princeps!*
O faveas populumque tuum, *Britonumque* tuorum
Accipias vota, & noster dignare vocari
Summe puer, quem fama vocat, quem gloria adoptat.
Quem vasti pater oceani colit amnibus undis;
Tempus erit, cum tu (non unquam indignus avorum
Ast atavos qui mente refers, & moribus æquas)
Ad Famæ templum porta virtutis adibis,
Atque infra positos Regesque Sophosque videbis;
Tempus erit, cum te (quâ gens hec inanior ultra)
Galia tota colet, mixtoque timebit amore.
In manibus tibi erit mundis dare jura futuris
Et, nondum inventis populis imponere leges.
Dum vestris læta auspiciis celeberrima floret
*Cambria*, jam prisci gens antiquissima mundi,
Inque velut montes nostrates vertice Cœlum
Sublimi feries, & cedet Laurea *Porro.*

## AD APOLLINEM & MUSAS.

O SMINTHEU! Pater Esuritionum,
Nugas tolle tuas Ineptiasque,
Vosque ite, O, procul hinc novem sorores
Vobis non opus est mihi, Camenæ,
Indignatio quem facit Poetam.
Longum Pierides malæ, valete!
Euterpe meretrix, Thalia mœcha,
Scortillum Polyhymnia invenustum,
Clio prostibulum, lutum, Lupanar,
Et quas prætereo malæ puellæ
Per quas non nisi mortuis Poetis
Sero Fama venit, Famesque vivis!
Ah! vidi, & pudet heu! sed ipse vidi
Vestro de grege, pessimæ, Poetam
Jucundum, facilem, probum, dissertum,
Cordatum, verecundum & eruditum,
Et cultum satis & sat elegantem,
Et qui cederet unico Catullo,
Docto par tamen ipse Martiali,
Quem juxta Veneresque Gratiæque
Certabant sibi vendicare cunctæ,
Qui si fortia bella personaret
Magnum vivere crederes Homerum,
Seu Mopsi teneros referret ignes
Haud quidquam cecinit vel ipsa Sappho,
Pulchro, Lesbia, mollius Phaoni:
Hunc vidi miserum, indignum, dolentem

Squallenti facie, horridâque barba
Detritis quoque sordidum lacernis,
Et nudis pedibus, genuque nudo,
Hybernis Aquilonibus rigentem,
Ævi relliquias malas trahentem
Ægre, nec saturum offulis caninis.
O quanto melius beatiusque
Et Cerdonibus est & Architectis,
Saltatoribus atque Pantomimis
Artes quique colunt pecuniosas!
Quid rodis, male Livor, immerentes?
Et quid Zoilus invidat Poetis?
At me Gronovium, tuum Poetam,
Nugacissime, Phœbe, perdidisti,
Si posthac numeris ineptiisque
Nostri ludere pruriant libelli
Claudi nec metuant Dei furorem,
Si nec tardipedi Deo dabuntur
Sit durus mihi Plutus & Minerva.
At vos interea, novem Sorores
Longum, Pierides malæ, valete
Et Smintheu, Pater Esuritionum.

---

## IN NATALEM.

**Dom Georgii Herberti, Domini de *Ludlow*, Illustrissimi Povisiæ Comitis Primogeniti filii, Carmen gratulatorium.**

Nunc juvat læto, resonare cantu,
Musa, nunc Plectro Citharam Canoram

Suscita, *Eryri*[1] recinat jocosa
Montis Imago.
Vos &, O *Bardi*,[2] Druidum Propago,
Inclytos qui Laude viros perenni
Traditis famæ, metuens perire
Dicite Carmen;
Quale nascenti Corybantes[3] olim
Æra quassantes, cecinere Alumno
Natus est nobis jove dignus ipso
Nobilis Infans.
Aureum tandem rediisse seclum
Credo, quod vates cecinere quondam
Ore dum sacro Britonum referrent
Fata Nepotum.
Macte virtutum! puer alme, macte,
Magna Magnorum Soboles Parentum!
Atque me, blando, tibi gratulantem
Accipe risu.
Gratulor nato tibi, pulcher Infans,
Ter beatorum decus, O, Parentum,
Teque fœlicem videant futura
Tempora Patrem:

[1] Mons Cambriæ altissimus.

[2] Britannorum poetæ sic dicti. Bardi quoque apud veteres Britannos, cæterasque Celticæ originis gentes, constituebant unum ex triplici Druidicæ Hierarchiæ ordine; Druides, Bardi, & Eubates, sive Ovates.

[3] Corybantes qui & Idæi, Doctyli sive Curetes, ejusdem fere fuerunt ordinis inter Silanes, cujus Druides inter Celtas, reliquias. Vide Pezronum de *Antiq. Ling. & Nat. Celt.*

Teque virtutes decorent Paternæ,
Ille avo dignos videant nepotes;
Hæc precor tantum, superis Patriq;
Cætera mitto.
Ille præceptis teneram juventam
Imbuet rectis, monitisque dignum
Addet exemplum, trahet & sequacem
Laude paternâ.
Sive te pacis maneant Honores
Inter Augusti proceres Senatûs,
Sive de partis, duce te, triumphis
Fama loquetur.
Senties quantum valeat paterna
Cura, quid possit docilis juventus,
Si sequi magnos velit *Herebertos*
Æmula virtus.
Optimis proles atavis creata
(Nam boni fortes generant bonosq;)
Spem tuæ quantam patriæ dedisti
Talibus ortus!
Quo refulgebis Nitidus trophæo?
(Te nec imbellem licet ominari)
Quem terres hostem? tibi quæve debet
Terra Triumphos?
Sit tuum infames domuisse Gallos
Qui fide Pœnos[1] superare certant

[1] Pœni a Romanis ob perfidiam male audiebant ut a nobis Galli Pœnorum vere imitatores. Perfidiam ergo Sallustius περιφραστιως punicam fidem dicant.

Punicæ, & Pacis specie dolosâ,
Bella minantur.
At quid infensos stimulant Britannos,
Hinnuli sævos pavidi Leones?
Aut suæ quorsum lacrymosa quærunt
Funera grenti?
Heu! sibi quantam properat ruinam
Gallia, insanos meditans tumultus!
Quo ruit? quorsum est onerare tantis
Classibus Æquor?
Quid malis demens, avibus facessit
Sæpe devictas reparare turmas,
Fœderis fracti luitura multo
Sanguine pœnas?
Siquid audendum validus *Georgi,*
Miles *Augusti,* Duce *Gulielmo,*
Posteris linquet, tibi det subacta
Gallia Nomen.
Detq; qui totum regit unus orbem
Quicquid est usquam, vel erit bonorum;
Det diu *Rubrum*[1] decorare *Castrum*
*Povisianum.*
Hic tibi curis, Placidus, soluto
Publicis olim dabitur recessus,
Hic ages dulces, sociis Camænis,
Leniter horas.

[1] Comitis Povisiani magnificentissimæ ædes, in ea Cambriæ regione sitæ, quam veteres Povisiam dixere, nunc vulgo Mons Gomericus, quas Cambri accolæ vocant, *Castell Coch ym Mhowys.*

Forsan & nostræ rude opus Camænæ
Perleges olim, vacuus negoiti,
Quod tibi vatas cecini bilinguis
Cambro-Latinum.
Dum lavat Rubrum *Sabriana*[1] Castrum
Dumque stat Magni Genus *Hereberti,*
Te canent Nostro celebrem futuri
Carmine Cambri.
Sic cecinit *Gronovius Ovinius Niger,*
Ipsis Calendis Decembribus, 1755.

[1] Sabriana fluvius, vulgo *Sabrina*, Anglis *Severn*, Cambris vero *Hafren*. Ptolom habet. *σαβριάνα* Castrium Provisianum præterlabitur.

# LLYTHYRAU.

## LLYTHYR 1.

### AT W. ELIAS, PLAS Y GLYN, MON.

**Y Celfyddgar Frytwn, a'm hanwyl Gyfaill gynt,**

CHWI a glywsoch sôn, nid wyf yn ammeu, am ryfeddol gynheddfau yr ehedfaen *(load-stone)* pa wedd y tynn atto bob math o ddur a haiarn; nyni a wyddom fod y gynneddf hon yn yr ehedfaen, a'r haiarn hefyd, ac a allwn weled â'n llygaid yr effeithiau rhyfeddol uchod; ond ni's gwyddom pa fodd, na phaham y mae y peth yn bod; oblegid bod hyn, cystal ag amryw ereill o ddirgelion natur, yn fwy nag a allodd holl ddoethion a dysgedigion byd erioed ei amgyffred.

Ni fedraf lai na meddwl fod rhyw beth tra chyffelyb i hyn yn natur dyn, yr hyn a bar iddo gynhesu wrth ryw *un*, ac ymhoffi ynddo, yn hytrach nag ereill, er nas dichon ddirnad pa fodd, na phaham, neu am ba achos.

Am danaf fy hun, mi allaf ddywedyd, er dechreuad ein cydnabyddiaeth, na welais i yr un y bai hoffach genyf ei gymdeithas na *William Elias*; a llawer gwaith yr amcenais ysgrifennu attoch, pe gwybuaswn pa sut: o'r diwedd mi a gefais wybodaeth o Gymru, yn mha le yr ydych yn byw.

Mi fynaswn i'r awen dacluso peth ar fy ymadroddion rhydlyd ac anystwyth; ni fynai mo'm clywed, er taer ymbil o honof fel hyn :—

BARDD.

Dos, fy nghân, at fardd anwyl,
O byddi gwan, na bydd gwyl:
Bydd gofus, baidd ei gyfarch,
Dywed dy bwyll, a dod barch.

AWEN.

Os i Fôn y'm hanfoni,
Pair anglod i'th tafod ti;
Bydd gyfarwydd dderwyddon,
Gwir hyddysg y'mysg gwyr Môn;
Priod iddi, prydyddiaeth,
Ca'dd beirddion ym Mon eu maeth;
Môn sydd ben er ys ennyd,
Ar ddoethion a beirddion byd,
Pwy un glod, a'i thafodiaith,
A phwy yn un a'i phen iaith?
Tithau waeth waeth yr aethost,
Marw yw dy fath, mawr yw dy *fost*;
Nid amgen wyd, nad ymgais,
Dirnad swrn, darn wyd o Sais;
A'r gwr, i'r hwn y'm gyrri,
Nid pwl ful dwl yw, fel di;
Ond prif-fardd yw o'r harddaf,
Am dy gân, gogan a gaf;
Hawdd gwg, a haeddu gogan,
Deall y gwr dwyll y gân;
Un terrig yw, nid hwyrach,
Gwn y chwardd am ben bardd bach.

BARDD.

O Gymru lân yr hanwyf,
Na cham ran, a Chymro wyf,
A dinam yw fy mamiaith,
Nid gwledig, na chwithig chwaith,

Bellach, dos, ac ymosod,
Arch dwys, atto f' annerch dod,
A gwel na chynnyg *William*
*Elias* na chas na cham.

Hyd yma mi a'i llusgais gerfydd ei chlust, ac yma hi a'm gadawodd; a sorri a ffrommi a wnaethym innau, ac ymroi i ysgrifennu y rhan arall heb gynghanedd, yn hytrach nag ymddangos â'r awen, a bod yn rhwymedig iddi.

Nid oes gennyf ddim newydd a dâl ei ddywedyd i chwi, am nad adwaenoch y lle na'r trigolion. Mae genyf ddau fab, enw yr ieuengaf yw *Goronwy*. Yr wyf wedi cymeryd ail afael ar fy Ngrammadeg Cymraeg, a ddechreuais er ys cyhyd o amser; ac y mae 'r gwaith yn myned ym mlaen fel y falwen, o achos bod genyf ormod o waith arall ar fy llaw. Mi a ddymunwn arnoch yrru i mi lythyr â rhyw faint o'r hen gelfyddyd ynddo, gynta' ag y caffoch ennyd.—Eich ufudd wasanaethwr, o ewyllys da,

GORONWY OWEN.

DONNINGTON, Tachwedd 30, 1751.

## LLYTHYR 2.

### AT MR. RHISIART MORYS, O LUNDAIN.

DONNINGTON, Mehefin 22, 1752.

SYR,

MI a dderbyniais eich epistol, a rhyfedd oedd gennyf weled un yn dyfod ataf o Lundain, a thra rhyfedd gweled enw gwr na welais erioed â'm

llygaid: ffafr oedd hon heb ei disgwyl: *eithr po lleiaf y disgwyliad mwyaf y cymeriad.* Er na ddigwyddodd i'm llygaid erioed ganfod mo honoch, etto nid dieithr i mi mo'ch enw; tra fu fyw fy mam mi a'i clywais yn fynych. Gan ofyn o honoch pa fath fywioliaeth sydd arnaf, cymerwch fy hanes fel y canlyn. Nid gwiw genyf ddechreu son am y rhan gyntaf o'm heinioes, ac yn wir, prin y tâl un rhan arall ei chrybwyll, o blegyd nad yw'n cynwys dim sydd hynod, oddigerth trwstaneiddrwyddd a helbulon; a'ch bod chwithau 'n gorchymyn yn bendant i mi roi rhyw draws-amcan o'm hanes. Tra bu'm a'm llaw yn rhydd (chwedl pobl Mon) neu heb briodi, byw yr oeddwn fel gwyr ieuaingc eraill, weithiau wrth fy modd, weithiau'n anfoddlon; ond ba wedd bynag, â digon o arian i'm cyfreidiau fy hun, a pha raid ychwaneg? Yn y flwyddyn 1745, e'm hurddwyd yn Ddiacon, yr hyn a eilw'n pobl ni *Offeiriad haner pann:* ac yno fe ddigwyddodd fod ar Esgob Bangor eisiau *Curad* y pryd hynny yn Llanfair Mathafarn eithaf yn Mon; a chan nad oedd yr Esgob ei hun gartref, ei *Chaplain* ef a gyttunodd â mi i fyned yno. Da iawn oedd genyf y fath gyfleusdra i fyned i Fon, (oblegyd yn sir Gaernarfon a sir Ddinbych y buaswn yn bwrw'r darn arall o'm hoes er yn un ar ddeg oed,) ac yn enwedig i'r plwyf lle'm ganesid ac y'm magesid; ac yno yr aethum, ac yno y bum dair wythnos yn fawr fy mharch a'm cariad gyda phob math o fawr i fach;

a'm tad yr amser hwnw yn fyw ac iach, ac yn un o'm plwyfolion; *Eithr ni cheir mo'r melus heb y chwerw.* Och! o'r cyfnewid! dyma lythyr yn dyfod oddi wrth yr Esgob (Dr. Hutton) at ei Gappelwr neu *Chaplain*, yn dywedyd fod un Mr. John Ellis o Gaernarfon *(a young clergyman of very great fortune)* wedi bod yn hir grefu ac ymbil ar yr Esgob am ryw le, lle gwelai ei arglwyddiaeth yn oreu, o fewn ei esgobaeth ef, ac atteb yr Esgob oedd, os Mr. Ellis a welai 'n dda wasanaethu Llanfair (y lle y gyrrasai y Cappelwr fi,) yr edrychai efe (yr Esgob) am ryw le gwell iddo ar fyrder. Pa beth a wnai drwstan? Nid oedd wiw achwyn ar y Cappelwr wrth yr Esgob, nac ymryson â neb o honynt, yn enwedig am beth mor wael, oblegyd ni thalai'r Guradiaeth oddiar ugain punt yn y flwyddyn. Gorfu arnaf fyned i sir Ddinbych yn fy ol, ac yno y cefais hanes Curadaeth yn ymyl Croesoswallt yn sir y Mwythig, ac yno y cyfeiriais; ac er hyny hyd y dydd heddyw ni welais ac ni throediais mo ymylau Mon, nag ychwaith un cwrr arall o Gymru, onid unwaith pan orfu i mi fyned i *Lan Elwy* i gael urdd Offeiriad. Mi fum yn Gurad yn nhref Groes Oswallt ynghylch tair blynedd, ac yno y priodais yn Awst, 1747. Ac o Groes Oswallt y deuais yma yn Medi, 1748. Ac yn awr, i Dduw y byddo'r diolch, y mae genyf ddau langc teg, a Duw a roddo iddynt hwy ras, ac i minnau iechyd i'w magu hwynt; enw'r hynaf yw *Robert*, a thair blwydd yw er dydd Calan diweddaf;

enw'r llall yw *Gronwy*, a blwydd yw er y pumed o Fai diweddaf. Am fy mywioliaeth, nid ydyw ond go helbulus, canys nid oes genyf ddim i fyw arno onid enillwyf yn ddigon drud; pobl gefnog gyfrifol yw cenedl fy ngwraig i, ond ni fum i erioed ddim gwell erddynt, er na ddygais moni heb eu cenad hwynt, ac ni ddigiais monynt 'chwaith. Ni fedr fy ngwraig i ond ychydig iawn o Gymraeg; etto hi ddeall beth, ac ofni'r wyf, onid af i Gymru cyn bo hir, mai *Saeson* a fydd y bechgyn; canys yn fy myw ni chawn gan y mwyaf ddysgu gair o Gymraeg. Mae genyf yma ysgol yn Donnington, ac eglwys yn Uppington, i'w gwasanaethu; a'r cwbl am 26 punt yn y flwyddyn; a pha beth yw hynny tu ag at gadw tŷ a chynifer o dylwyth; yn enwedig yn Lloegr, lle mae pob peth yn ddrud a'r bobl yn dostion ac yn ddigymwynas. Er hyny, na atto Duw i mi anfoddloni, o herwydd *Po cyfyngaf gan ddyn ehangaf gan Dduw.* Nid oes ond gobeithio am well troiad ar fyd. Fe addawodd eich brawd Llewelyn o Geredigion, yr edrychai ryw amser am ryw le i mi Ynghymru; ac ni's gwaeth genyf fi o frwynen ymha gwr o Gymru, Duw a gadwo iddo ef iechyd a hoedl, ac i minau ryw fath o fywioliaeth, ac amynedd i ddisgwyl. Nid oes genyf yn awr, neb arall i ddisgwyl wrtho. Ni waeth gan y bobl yma, am a welaf fi, er yr hwyed y cadwont ddyn danodd, os cant hwy eu gwasanaethu, deued a ddel o'u gwasanaethwr; ni phrisiant hwy ddraen er gwario o hono ei holl nerth

a'i amser; ie, a gwisgo o hono ei gnawd oddi am ei esgyrn, yn eu gwasanaeth hwynt. *Ysgottyn* yw'r gwr yr wyf fi yn ei wasanaethu yn awr, a *Douglas*[1] yw ei enw. Ysgatfydd, 'chwi a'i hadwaenoch; y mae yn Llundain yn awr, a'r rhan fwyaf o'i amser, gyda Iarll Baddon (Earl of Bath) yn dysgu ei fab ef. Efe yw'r gwr a gymmerth blaid y prydydd *Milton*, yn erbyn yr enllibiwr atgas gan *Lauder*. Pa wedd bynag, tost a chaled ddigon ydyw hwnw wrthyf fi; yr wyf yn dal rhyw ychydig o dir, sy'n perthyn i'r ysgol, ganddo ef, ac, er ei fod yn rhy ddrud o'r blaen, etto fe yrodd eleni i godi fy ardreth i, rhag ofn a fyddai i Gurad, druan, ynnill dim yn ei wasanaeth ef, neu gael bargen ry dda ar ei law ef. O, the unparalleled extensiveness of Scotch kindness and charity! Etto, ni chlywai ei stiwart ef (yr hwn a wyddai'n anian dda pa beth a dalai y tir) ar ei galon godi mo'r ardreth un ffyrling yn uwch, ac odid y rhoesai neb arall gymmaint am dano. Nid wyf ond bwngler am ysgrifenu llythyr Cymraeg, o eisiau arferu, er fy mod yn deall yr iaith yn o lew; ac am hyny gwell i mi bellach droi'r ddalen. I am exceedingly obliged to you for the favour you did me, in putting my name in for one of the Welsh Dictionaries, and should be glad to know if one might buy two or three of the Bibles to give away, and at what price? As for *Cywydd y Farn*, I would have sent

[1]Douglas, Bishop of Carlisle, 1788, and of Salisbury, 1799.

it you with all my heart, but that I understand that Mr. Ellis, Minister of Holyhead, intends to be at the expence of printing it; that, probably, was the reason why Mr. Wm. Morris did not send you a copy of it at present. However, if you choose to have it from me, you shall, and welcome; only let me know so much in a line by post, for I hope that which I received is not to be first and last. If it please God to lend me life and health, I will find enough of that kind of diversion for you, especially if I could be once so happy as to get rid of the confinement of a school. I have now but very little time to spare, perhaps an hour or two in a day, and yet, notwithstanding, I keep up a pretty extensive correspondence, I make shift to send some new thing or other to Mr. L. Morris, about once every month. Some time ago I was wishing I had had a correspondent in London besides my patron, for he would do me no good, that I might, if possible, be furnished with a few books that would give me an insight into the oriental languages, I mean the *Arabick* and *Syriack;* for the *Hebrew* and *Chaldee* I have some smattering in. I have often heard that almost every book may be had, and pretty reasonably, at the Booksellers' stalls in London. Now if you should by chance see an Arabick Grammar, &c., and either buy it, or cheapen it, and let me know the price, I could easily send up the money by Salop wagon, which goes to London every week, and comes within half

a mile of my house. I say if you should see such a book by chance, (for I would not put you to the least trouble in the world about it,) and secure it for me, I would remit the money immediately, and ever gratefully acknowledge the favour. And perhaps I might some time or other be able to compass the buying of a Polyglott Bible. Mae genyf ryw awydd diwala i ddysgu cymaint ag a allwyf, ond ni fedraf gael mo'r llyfrau i ddysgu dim a dalo ei ddysgu. Nid wyf fi'n cofio glywed sôn erioed am y Mr. Huw Davies yr y'ch yn crybwyll am dano, nag am modryb Mari Brodiart o Lan Eilian chwaith. Mae'n atgof genyf glywed am Mr. Richard Broadhead, neu *Brodiart*, o *Ben Hescin*, ym Mon; ond ni adnabum i neb erioed yn Llan Eilian, na nemmawr yn un lle arall ym Mon, oddigerth ychydig ynghylch y cartref, a thu a *Dulas* a *Bodewryd* a *Phenmon*, &c., lle'r oedd ceraint fy mam yn byw. Er pan aethym i'r ysgol gyntaf, hyny oedd o gylch deg neu un ar ddeg oed; nid oeddwn arferol o fod gartref ond yn unig yn y gwyliau, ac felly nid allwn adwaen mo'r llawer. Mi a wn amcan pa le mae Tref Castell yn sefyll, er na's gwyddwn pwy a'i pioedd. Y tro cyntaf erioed yr aethum i'r ysgol, diangc a wnaethum gyd â bechgyn eraill, heb wybod i'm tad a'm mam: fy nhad a fynnai fy nghuro, a'm mam ni's gadawai iddo; ba wedd bynnag trwy gynhwysiad fy mam, yno y glynais hyd oni ddysgais ennill fy mywyd. A da iawn a fu imi;

oblegid ynghylch yr amser yr oeddwn yn dechreu galln ymdaro trosof fy hun, fe fu farw fy mam, ac yno nid oedd ond croesaw oer gartref i'w ddisgwyl. I Dduw y b'or diolch, mi a welais ac a gefais lawer o adfyd, ac etto methu cefnu'r cwbl; ond gobeithio'r wyf weled o honof y darn gwaethaf o'm bywyd eisus heibio. Da iawn a fydd genyf glywed oddiwrthych, pan gaffoch gyfleusdra, a goreu po cyntaf. Bid sicr i chwi, os gwelwch yn dda, gael rhyw gywydd yn y nesaf, ac ymhob un o hyn allan. Chwi a gawsech Gywydd y Farn yn hwn oni buasai fy mod yn meddwl mai gwell i chwi ei gael yn argraphedig. Os nid ellwch yn hawdd ddidolli'ch llythyr â ffrencyn, gyrrwch ef ymlaen heb un; ni wna grottan na'm dwyn na'm gadel.—If Mr. Hugh Davies calls on me in his way to Anglesey, I shall be glad to see him. I live four miles short of Salop, within half a mile of the Golden Horse Shoe, on Watling Street Road; which is about three quarters of a mile short of Tern Bridge Turnpike, as he goes from Watling Street to Atcham, and so to Salop. I have time to write no more, but that I am (with abundance of thanks for this favour) your most obliged humble servant,

GRONWY DDU,
*alias* OFFEIRIAD,
*alias* Y BARDD BACH O FÔN.

## LLYTHYR 3.

### AT MR. RHISIART MORYS.

DONNINGTON, Awst 15, 1752.

SYR,

DYMA'CH llythyr wedi cyrhaeddyd hyd yma; a da iawn oedd genyf ei weled, ac nid bychan ei groesaw er mwyn y llaw a'i hysgrifenodd. E fu frwnt anial genyf lawer gwaith er pan ysgrifenais atoch o'r blaen, na buaswn yn gyru i chwi Gywydd y Farn. Ni's gwn pe crogid fi, pa fodd y bu hyny o wall arnaf; eithr boed sicr genych, nad anewyllysgarwch oedd yr achos, ond byr feddwl. Tybio wnawn i fal hurtyn, mai amgenach a fyddai genych ei gael yn argraffedig, heb ystyried mai unig gymmeradwyaeth yr anrheg oedd hanfod o honaw o law yr awdwr. Pa fodd bynag, os rhynga fodd i chwi esgusodi hyny o esgeulusdra, dyma fo i chwi yn awr fel y mae genyf finau drwy ei liw a'i loywon fel y dywedynt. Wel, dyma i chwi Gywydd y Farn, ac odid na fydd ryfedd (a gwaeled y gwaith) gael o hono gymaint cymmeriad yn y byd. Ond os mawr iawn ei gymmeriad, mwy yw'r genfigen sydd gan rai wrtho. Os nad ydych yn dirnad pa ham y rhoddwyd y geiriau hyn yn ei ddiwedd, sef,

"Crist fyg a fo 'r meddyg mau,
Amen, a Nef i minau,"

gwybyddwch mai clâf a thra chlâf o'r cryd oeddwn, y pryd y dechreuais y Cywydd, ac hefyd yr wyf

yn cofio mai meddwl am farw a wnaeth i mi ddewis y fath destyn. Os chwychwi a chwennych weled peth yn chwaneg o'm barddoniaeth, gadewch wybod pa ddarnau a welsoch (rhag i mi yru i chwi yr hyn a welsoch o'r blaen), ac yna mi yraf i chwi Gywyddau o fesur maweirdiau. Yr wyf yn deall fod yr hen Frytaniaid yn bobl go gymdeithasgar yna yn Llundain. Ond pa beth a ddywed yr hen ddihareb, "*Ni bydd dyun dau Gymro.*" "*Poeticæ non erunt consentientes duo Cambri.*" Gobeithio ar hyny nad gwir ydyw pob dihareb, ac os e mai nad dihareb mo hon, ond rhyw ofer chwedl o ddychymyg rhyw hen wrach annynad ymladdgar. Digon gweddol a thylwythgar y gwelais i hyny o Gymry a gyfarfum â hwynt yn Lloegr. Os tybiwch yn oreu chwi ellwch ddangos Cywydd y Farn i rai o'ch brodyr yn y Cyfarfod Misol nesaf, yn enwedig i Hugh Davies, neu'r cyffelyb a fo yn hanfod o'n gwlad ni ein hunain. Ni'm dawr i pa farn a roir arno, oblegyd gael o hono farn hynaws a mawr glod gan y bardd godidocaf sy'n fyw heddyw, ac o ddamwain a fu byw erioed yn Nghymru, nid amgen Llewelyn Ddu o Geredigion, yr hwn yr ydwyf yn ei gyfrif yn fwy na myrdd o'r man glytwyr dyriau naw ugain yn y cant, sydd hyd Gymru yn gwybetta, ac yn gwneuthur neu'n gwerthu ambell resynus Garol, neu Ddyri fol clawdd. Pe cai y fath rimynwyr melldigaid eu hewyllys, ni welid fyth yng Nghymru ddim amgenach a mwy defnyddfawr na'u diflas rineyn hwy eu hunain.

Am y Grammadeg Arabaeg a Syriaeg, gadewch iddo, ni fynwn i er dim eich rhoddi mewn cost na llafur er porthi fy awydd fy hun. Nid wyf fi eto berchen y bocced a brynai lyfr o werth dwy bunt. Rhyw goron neu chw'eigian a fyddai yn ddigon genyf fi wario am lyfrau Arabaeg. Nid oeddwn yn deisyf nac yn disgwyl yr aech chwi i'r boen i ymofyn cyn fanyled yng nghylch y fath beth. Rhaid i mi heb y gwaethaf ro'i heibio feddwl am y cyfryw bethau, hyd oni throa Duw ei wyneb a gyru i mi fy ngofuned, neu rywbeth a fo cystal er fy lles. Rhaid yw yn awr arbed yr arian tu ag at fagu y bardd a'r telyniwr, a chodi calon y "wraig Elin rywiog oleu." Am y llyfrau Arabaeg ac Ebryw sydd yn eich meddiant chwi eich hunan, nid ydwyf mor chwannog a'u cybyddu oddiarnoch: ni fyddai hynny mor llawer gwell na lladrad, oblegyd fe orfyddai arnoch brynu eraill yn eu lle hwynt at eich gwasanaeth eich hun. Mae'n gyffelyb eich bod chwi yn deall yr ieithoedd hyny, ac os felly mi a wn yn swrn dda anwyled y gall fod genych y llyfrau. Mae genyf fi yma Feibl, a Salter, a Geirlyfr a Grammadeg Hebraeg, a dyna'r cyfan, a da cael hyny; ond am yr Arabaeg, ni feddaf lyfr o honi. Gwych fyddai genyf gael gwybod pwy yw Siencyn Tomas, sy'n deall yr ieithoedd Dwyreiniol cystal. Gwyn eich byd chwi, ac eraill o'ch bath, sydd yn cael eich gwala o ddysg a llyfrau da, ac yn ymgreiniaw mewn ehangder a digonolrwydd o bob cywreinrwydd, wrthyf fi a'm bath, sy'n gorfod

arnom ymwthio 'n dŷn cyn cael llyfiad bys o geudyllau a goferydd dysgeidiaeth. Gwae fi o'r cyflwr! Ni ddamweiniodd i mi weled Ieuan Fardd, o Goleg Merton; ond mi glywais gryn glod iddo, a thrwy gynnorthwy Llewelyn Ddu, mi welais rywfaint o'i orchestwaith; a diddadl yw na chafodd mo'r glod heb ei haeddu. Er ei fod yn iau na mi o ran oedran, eto mae yn hŷn brydydd o lawer, oblegyd ryw bryd yng ngwyliau'r Nadolig diweddaf y dechreuais i; oni buasai 'ch brawd a yrodd i mi ryw dammaid o waith Ieuan, ac a ddywed yn haerllug y medrwn inau brydyddu, ni feddyliaswn i erioed am y fath beth: Tu ag at am yr hyn yr ydych chwi yn ei ddywedyd, sef mai Goronwy Ddu o Fôn yw pen bardd Cymru oll, mae genyf ddiolch o'r mwyaf i chwi am eich tyb dda o honof; ond gwir yw'r gwir, yr ydych yn camgymmeryd, Llewelyn Ddu yw pen bardd Cymru oll, ac ni weddai y titl neu'r enw hwnnw i neb arall sydd fyw heddyw. Nid yw Ieuan a minnau ond ei ddisgyblion ef. Pwy a ŷf ddysg oreu, ond hwnnw sydd wastadol dan law ei athraw? E fu hynod iawn yr ymdrech rhwng gwr o Geredigion a gwr o Fôn, er's gwell na thri chan mlynedd a aeth heibio, sef, Dafydd ab Gwilym, a Gruffydd Grug; ac am yr ydwyf yn ei ddeall, Môn a gollodd a Cheredigion a aeth a'r maes, felly ninau:—pa beth yw Goronwy Ddu wrth Ieuan Fardd o Geredigion? Eto gwych a fyddai i Fôn gael y llaw uchaf am unwaith, i dalu galanas yr hen Ruffydd Grug. Gwaethaf

peth yw, nid wyf fi yn cael mo'r amser, na heddwch na hamdden gan yr hen Ysgol front yma, a dryg-edd y cywion Saeson, fy nisgyblion, yn suo yn ddidor ddidawl, yn fy nghlustiau, yn ddigon er fy syfrdanu a'm byddaru. Chwi welwch fy mod yn dechreu dyfod i ysgrifenu llythyr Cymraeg yn o dwt-neis. Gadewch gael clywed oddiwrthych gyn gynted byth ag y caffoch hamdden; ac os oes genych ryw lyfrau Hebraeg neu Arabaeg a dim daioni ynddynt, ag y gellwch yn hawdd eu hebgor, chwi ellwch eu llwybreiddio. Bellach rhaid cau hyn o lythyr i fynu, oblegyd ni erys Malldraeth am Owain, ac y mae lle i ofni na erys y Post wrth Oronwy. Byddwch wych. Wyf eich tra rhwym-edig a'ch gostyngeiddiaf wasanaethwr,

GORONWY DDU, gynt o FON.

## LLYTHYR 4.

### AT MR. W. MORRIS.

DONNINGTON, Medi 21, 1752.

SYR,

MI a dderbyniais eich caredig lythyr o'r 31 o Awst, yr un mynud ag yr oeddwn yn cau fy llythyr at eich brawd Llewelyn, sef oedd hynny Medi 'r 16, yn ol y rhif newydd, a hyn a roes i mi gyfleusdra i chwanegu darn at ei lythyr ef y'mherthynas i'r hyn yr ydych chwi yn ei grybwyll yn eich llythyr; a gobeithio y caf atteb cysurus.

Nid oes genyf amgen (a pha raid?) i'w roi i chwi na bendith Dduw, a diolch am eich caredigrwydd a'ch cymmwynasgarwch, a'ch gofal am danaf.

Drwg iawn ac athrist genyf y newydd o'r golled a gawsoch am eich mam: diau mai tost a gorthrwm yw y ddamwain hon i chwi oll, a chwith anguriol ac anghysurus, yn enwedig i'r hen ŵr oedranus; eithr nid colled i neb fwy nag i'r cymmydogion tlodion; chwychwi oll, trwy Dduw, nid oes arnoch ddiffyg o ddim o'i chymmorth hi yn y byd hwn, ac a wyddoch gyd â Duw i ba le yr aeth, i Baradwys, mynwes Abraham, neu wrth ba enw bynnag arall y gelwir y lle hwnnw o ddedwyddyd, lle mae eneidiau y ffyddloniaid yn gorphwys oddiwrth eu llafur, hyd oni ddelo cyflawniad pob peth; ac yno, wedi canu o'r udgorn diweddaf, a dihuno y rhai oll a hunasant yn y llwch, y caiff pob enaid oll eu barnu yn ol eu gweithredoedd yn y cnawd; a chymmaint un a hunasant yn yr Arglwydd a drosglwyddir i oruchafion Nefoedd, yno i fod gyd â'r Arglwydd yn oes oesoedd.

Ond nid wyf fi yma yn amcanu pregethu, mewn llythyr, ac afraid ysgatfydd fuasai i mi ddywedyd dim wrthych chwi ar y fath achos; oblegyd eich bod chwi, yr wyf yn deall, yn fwy cydnabyddus â brenin y dychryniadau na myfi; ac felly yn llai eich arswyd o honaw: canys mi glywais iddo o'r blaen fod yn anian agos attoch, cyn nesed a dwyn ymaith yr ail ran o honoch eich hun, sef asgwrn o'ch esgyrn, a chnawd o'ch cnawd chwi. Duw, yr

hwn a'i galwodd hi i ddedwyddwch, a roddo i chwi oll amynedd a chysur.

I'm sorry my letter to Mr. Ellis was not kind enough; I think I thanked him for *that* and all other favours. What, did he expect that I should burst out in ecstacies, and launch forth into a panegyrick on his extraordinary erudition and deep skill in his mother's tongue, a specimen whereof he had inclosed in his letter. I was not so well-bred as to learn to flatter, and if that was what he expected, I am not sorry he was disappointed; I thought the Doctor had been a man of sound years, and could take up with truth in its own native dress, without the bawd's stakes and garb of soothing and flattery. I have known him of old to be of a morose and peevish temper, an instance wherof he gave me at your house at Holyhead; for having given me a thesis to make a theme on, when I waited on him with it, made, I suppose, in the best manner I was then able (which was no way contemptible considering my years) the good Dr. (I conceive, expecting that I should have outdone himself and Tom Brown too) fell into such extravagancy of passion as little became him, crying "*What stuff* is here! Out upon it! I've done with you! I don't want *your* Latin myself," (a wonder, forsooth, for a fellow of a College) and a great deal to the same purpose. Now I might as well have sent him back his Welsh paper with a *What stuff!* I can write better Welsh myself (a

greater wonder) and I don't want it, &c., &c. And might have added likewise, *and can write* as good Latin or any other School language. However, if want of kindness in my letter is the reason why *Cywydd y Farn* is dropt, I am no way concerned at it; let him know (with thanks and compliments) that he does me a special and notable piece of service. But if it be for want of notes, &c., surely, he that could make the Cywydd, can also write notes on it; and if the noise about it is so far gone abroad as to raise a general expectation, I don't know but it may be advisable to print it, and even requisite in some measure. *Now your crown* (if you can find in your heart to part with it upon so trifling an occasion) *and mine,* and another of Mr. Hugh Williams, will compass it, and we may have it and some two more printed here, under my own eyes, at Salop, and afterwards equally divided betwixt us, to be disposed of at pleasure. As to our national indolence and contempt of our own language, we can but take one view of the state of letters. 'Tis a melancholy consideration; so full of discouragement, that I choose to say no more of it.[1]

[1] The above passage evidently involves a subject upon which Goronwy Ddu does not choose to dilate; but from the querulous tone of the context, we are warranted in concluding that "*the national indolence, and contempt of our own language,*" obliquely applies to the gentleman in question, Mr. Ellis, whom I take to be the then Incumbent of Holyhead,

I've received the repeated favours of two letters from your brother Richard, and have in answer to the second, at his desire, sent him Cywydd y Farn, and expect next post to hear from him again.

Da iawn a fyddai genyf ddyfod i fyw ym Môn, os gallwn fyw yn ddiwall ddiangen: ac nid wyf yn ammeu na fyddai Llangristiolus yn ddigon i mi fagu fy mhlant pe'i cawn. Ni rwgnach ffrencyn er dwyn llen gyfan o bapur mwy na phed fai onid hanner hynny, ac am hynny mi yrrais i chwi ar y tu arall i'r llen ryw fath o gywydd, nid y goreu, ond y diweddaf a wnaethum. Mi a'i gyrrais i Geredigion yn y llythyr diweddaf; ond ni chlywais etto pa un ai da ai drwg, ai canolig ydyw—dyma fo i chwi fal y mae gennyf finnau. Llawer iawn o drafferthion a phenbleth a roes Duw i'm rhan i yn y byd brwnt yma; ac onidê mi fuaswn debyg i yrru i chwi ryw fath o'r Gywydd[1] Coffadwriaeth am yr hen wraig elusengar o Bentre Eiriannell; ond nis gallwn y tro yma.

Mae'r Ysgol ddiflas yn agos a'm nychu fi. Pa beth a all fod yn fwy diflas a dihoenllyd i ddyn sydd yn myfyrio, na gwastadol gwrnad a rhincyn cywion Saeson? prin caf odfa i fwytta fy mwyd ganddynt—a bychan a fyddai fod cell haiarn i bob un o

and who, it seems, in consequence of apparent discourtesy on the part of Goronwy, or according to Goronwy's own version, in consequence of his not being sufficiently "well-bred to flatter," withdrew his promised aid to the publication of Cywydd y Farn.

[1] Gwel tu dalen 49.

W

honynt o'r neilldu, gan yr ymdderru a'r ymgeintach y byddant; ac fel tynnu afangc o lyn yw ceisio eu gwastrodedd. Ond nid hyn mo gorph y gaingc 'chwaith: mae'r rhieni yn waeth ac yn dostach na'r plant; pobl giaidd, galedion, ddigymmwynas, anoddefus ydynt oll—a'r arian yn brin, a'r cyflog yn gwtta, a'r cegau yn aml, a'r porthiant yn ddrud gyd â minnau—Duw a'm dycco o'u mysg hwynt, i'r nef neu Gymru, yr un a welo yn oreu.

I would not have you to communicate the contents of my letter to Mr. Ellis, not that I fear him or any of his kidney, but because I suppose his spleen is already on the stretch, and more provocation would do him harm. If his own ill nature and pride carries him to an indecent height, it is what I cannot help, I am sure I desingned him no offence or affront. If his notions of things and mine do not exactly tally, where is the harm of it? Our thoughts and sentiments are free born, and cannot be brought into subjection to any one, and like our faith, can be wrought on by nothing but the convictions of reason and argument; whatever cessions and compliances may be squeezed out of us by awe and interest are but mere hypocrisy and dissimulation. And for him to deny me the liberty of enjoying my own sentiments (which by the bye, I doubt not, were juster than his own in that case) is, I say, as great a piece of tyranny as ever the man of Rome usurped over men's consciences: I beg you would let me know in your next what part

of my letter he was principally offended at. You may, if you please, make my compliments to him as usual, and, if you will, shew him the *Cywydd*, which I wrote on the other side, on purpose that it might be cut off from the letter. I have no more to add at present, but that I am, dear Sir, your most obliged humble servant,

GORONWY OWEN.

P. S. If Llangristiolus could be had at all, I suppose it would not be till after the Δεαθ of the πρεσεντ—Ινκυμβεντ. Mi a adwaen yr hen gorph, a hen walch gwydn yw mi a'i gwrantaf. I don't understand this affair rightly; I am very well acquainted with Esq. B. do. l. but would not take the world to write to him but on a sure footing—Duw gyd a chwi.

---

## LLYTHYR 5.

### AT MR. W. MORRIS.

DONNINGTON, Rhagfyr 6, 1752.

GYFAILL ANWYL,

CHWI gawsech glywed oddi wrthyf yn gynt ond odid, oni buasai y rhew tost a fu yn ddiweddar. Nid yw yr Awen ond fferllyd ac anystwyth ar yr hin oer yma: ni chaiff dyn chwaith mo'r amser i brydyddu gan fyrred y dyddiau, a chan ymysgrythu ac ymwthio i gonglau; a pha beth a dâl

crefft heb ei dilyn? Pa wedd bynnag, dyma i chwi ryw fath ar bwt o Gywydd er coffadwriaeth am yr hen wraig dda[1] o Bentref Eirianell gynt. Hoff oedd genyf hi yn ei bywyd, a dïau fod rhywbeth yn ddyledus i goffadwriaeth pobl dda, ar ol eu claddu, yr hyn, er nad ydyw fudd yn y byd iddynt hwy, a all ddigwydd fod yn llesol i'r *byw*, i'w hannog i ddilyn camrau y campwyr gorchestol a lewyrchasant mor hoyw odidog yn y byd o'u blaen hwynt. Nid yw cymmaint fy rhyfyg i a meddwl y dichon fod ar law gwael-ddyn o'm bath i ganu iddi fel yr haeddai: beth er hynny? melusaf y cân eos, ond nid arch Duw i'r frân dewi; yr asyn a gododd ei droed ar arffed ei feistr, ac nid llai ei ewyllys da ef na'r colwyn, er nad hawddgar ei foesau. Fe all *Bardd Du* ddangos yr ewyllys, ac nid all *Bardd Coch* amgen, hyd bai amgen ei Gywydd. * * * * * * * * * * * * * * * * *

[1] Yr oedd yr Awdwr yn gydnabyddus ym Mhentref Eirianell er yn blentyn, fel y tystia y rhan ganlynol o'i lythyr o *Donnington*, at Mr. W. Morris, Mai 30, 1752. "Rhoddwch fy ngharedig annerch at eich tad a'ch mam: dywedwch wrth eich mam fy mod hyd y dydd heddyw yn cofio ac yn diolch iddi am y frechdan fêl a gefais ganddi; ac odid na chofia hithau ddywedyd o honof y pryd hyny, *Pe bai gennyf gynffon mi a'i hysgydwn*."

Un sydd yn fyw heddyw (1822) a adwaenai yr Awdwr, a theulu Pentref Erianell, a ddywed fyned Goronwy gyd â'i fam yno, a chael o hono frechdan o fêl, a gofyn o'i fam iddo, Pa le y mae eich diolch am dani? Yntau dan bwys teimladau calon ddiolchgar, ac â'r deigr ar ei ruddiau, a ddywedodd, "Pe bai gennyf gynffon, mi a'i hysgydwn."

GOL. GWYLIEDYDD.

Ai byw yr hen Gristiolus wydn fyth? * * * *

Waeth, waeth, yr â y byd wrth aros yma; prin y gellir byw yr awr hon (a pha fodd amgen, tra bo y brith-ŷd am goron y mesur *Winchester*, a'r ymenyn am saith geiniog, a'r caws am dair a dimmai y pwys?) a pha sut y gellir disgwyl byw tra cynnydda y teulu, ac ni chynnydda y cyflog? Y llangciau a ânt fwy fwy i'r clwt, fwy fwy i'r cadach; ac ym mhell y bwyf (ïe pellach o Fôn nag ydwyf) os gwn i pa fyd a'm dwg. Ni's gwybum i mo'm geni, er clywed gan fy mam ganwaith, nes dyfod i fysg y *Saeson* yma. Och finnau! mi a glywswn ganwaith sôn am eu cynneddfau; mawr na fynnasai gennyf eu gochel: mi a allaf ddywedyd am danynt, fel y dywed Brenhines Seba am Solomon; "Gwir yw y gair a glywais yn fy ngwlad fy hun am danynt, etto ni chredais y geiriau nes i mi ddyfod ac i'm llygaid weled; ac, wele, ni fynegasid i mi yr hanner." * * * * * *

Nid oes gennyf lid yn y byd i'r Doctor E——s; y mae yn rhydd iddo ef *ddictatio* fel y mynno, ond fod yn rhydd i minnau wneuthur fy newis ai canlyn ei *ddictates* ef ai peidio, a pheidio a digio oni chanlynaf, ac yna fe fydd pob peth o'r goreu. * *

Cenawes ystyfnig ydyw yr Awen, ni thry hi oddiar ei llwybr ei hun er ungwr. Ac, yn wir, nid yw ond afresymmol i ŵr na fedd nac Awen, na'i chysgod, gymmeryd arno ddysgu un a'i medd, pa fodd i'w harfer a'i rheoli. Gellir gwneuthur pwt o bregeth ar y testyn a fynno un arall; ond am

Gywydd, ni thâl ddraen oni chaiff yr Awen ei phen yn rhydd, a myned lle y mynno; a phwy bynnag a ddywedo yn amgen, gwybydded fod ganddo Awen ystwythach na'm Hawen i, yr hon sydd mor warr-galed, ysgatfydd o ddiffyg na buaswn yn ei dofi yn ieuengach. Ni's gallaf lai na meddwl fod yr Awen, fel llawer mirein-ferch arall, po dygnaf a diwyttaf y cerir, eiddiccaf a choegcaf fyth y ceir hi; ni's gwn pe'm blingid, pa un waethaf ai gormod gofal, ai gormod diofalwch.

GORONWY OWEN.

## LLYTHYR 6.

### AT MR. RHISIART MORYS.

DONNINGTON, Rhagfyr 18, 1752.

Y CAREDIG GYDWLADWR,

MI dderbyniais eich llythyr er's ennyd fawr o amser, a chann diolch i chwi am y llyfrau a yrrasoch i mi, er na welais mo honynt etto. Fe ddywed Mr. Llewelyn Ddu i mi, yn ei lythyr, ei fod wedi eu derbyn hwy, ac y mae yn debyg y gyrr hwynt yma gynta' y caffo gyfleusdra. Mi a gychwynais ysgrifenu attoch er yn agos i bythefnos, ac yn hyny dyma lythyr o Allt Fadog yn dyfod i'm dwylaw; ac yna gorfu ail fwrw fy llythyr attoch chwi, rhag dywedyd celwydd yn ei gynhwysiad; oblegyd meddwl yr oeddwn, fod y gwr o Allt Fadog yn Llundain yna, fal y dywedai y byddai yn ei lythyr o'r blaen; ond weithian mi glywaf ei fod gartref. Dymunaf arnoch nad eloch i'r gost i brynu i mi

ddim ychwanneg o lyfrau, o herwydd ni's gwn i pe'm blingech, pa fodd i wneud i chwi dreian iawn am a yrrasoch. Odid y daw fyth ar fy llaw i dalu y pwyth i chwi am eich caredigrwydd, onid ê mi a'i gwnawn i chwi 'n ewyllysgar. Mi glywais fyned o Dduw a'ch mam, a saeth i'm calon oedd y newydd. Da iawn a fu hi yn ei hamser i laweroedd; ac yn mysg eraill i minau hefyd, pan oeddwn yn blentyn. Hoff iawn oedd gennyf redeg o'r ysgol ar brynhawn Sadwrn, o Ysgol Llanallgo, i Bentre Eirianell; ac yno byddwn sicr o gael fy llawn hwde ar fwyta brechdanau o fêl, triag, neu ymenyn, neu yr un a fynnwn o'r tri rhyw. Papur i wneyd fy nhasg, ac amryw neges arall; a cheiniog yn fy mhoced i fyned adref; ac anferth siars wrth ymadael i ddysgu fy llyfr yn dda, a phwy bynnag a fyddai byw yn y byd, y ceid fy ngweled yn glamp o Berson. Boed gwir fo'i gair, ac nid yw yn anhebyg, gan weled o Dduw yn dda ffynnu ganddi adael meibion o'r un meddwl a hi ei hun ar ei hol. Duw fo da wrthi ei hun a'i meibion. Dacw i chwi tu draw i'r ddalen ryw fath o Gywydd i goffa am dani. Da y gwn na ddichon fod ar law burgyn o'm bath i ganu iddi fel yr haeddai: etto mi allaf ddangos yr ewyllys, ac nid all y goreu ddim ychwaneg. Mi allaswn, 'rwyf yn cyfaddef, siared geiriau mwy; ond yr oedd arnaf ofn weithiau ddywedyd y gwir i gyd, rhag i neb dybied fy mod yn gwenieithio o'i phlegyd, yr hyn sydd gâs beth gan fy nghalon. Fe wyr a'i hadwaenai nad ydwyf yn celwyddu na gwenieithio. Am y lle y crybwyll-

ais eich enw chwi, esgusodwch fi:—ni's gwyddwn pa beth i'w ddywedyd am danoch, ac ni's clywais i erioed amgen na'ch bod yna yn Llundain, a rhai o'ch mân gampiau, a'ch mwynion chwedlau gynt pan oeddych yn fachgen, a glywswn gan fy mam, pa fodd y cymmerasoch y fwyall fechan gyda chwi i dorri yr Ysgol erbyn y Gywliau, a'r cyffelyb. Mi welais hefyd, er's gwell na deunaw mlynedd, yn meddiant fy ewythr Robert Goronwy, lythyr ac ynddo ryw nifer o Englynion cywreinddoeth, a yrrasoch gynt oddiyna at fy nhaid (yr hen 'Ronwy) ac heb law hyny, nid cof genyf glywed na siw na miw yn eich cylch. Pa fodd bynag, yr ydwyf yn deall wrth hyny fod genych ran o natturioldeb gwreiddiol yr hen gelfyddyd; a gobeithio, na thybiwch i mi wneuthur dim cam â chwi. Mi yrais y Cywydd i Mr. Morris o Gybi, ac i fy athraw o Allt Fadog hefyd, ond ni's clywais etto pa'r un ai da ai drwg ydyw. Yr wyf yn coelio pe cymmeraswn lai o ofal yn ei gywreinio, mai llawer gwell a fuasai; canys sicr yw fod gormod gofal cynddrwg a gormod diofalwch. Llyma'r Cywydd fel y mae; ni phrisiwn ddraenen er gwneuthur pwt o Gywydd i'r Gymdeithas o Hen Frytaniaid ond cael ystlys gair o'i hanes. Da iawn genyf glywed oddiwrthych pan gaffoch ryw gyfleusdra. Nid oes genyf ddim yn ychwaneg i'w ddywedyd, ond fy mod yn rhwymedig i chwi am bob twrn da.

Yr hwn wyf, syr, eich ufuddaf ostyngeiddiaf wasanaethwr a chydwladwr anwiw,

GRONWY DDU, gynt o FON.

## LLYTHYR 7.

### AT MR. RHISIART MORYS.

DONNINGTON, February 21, 1753.

DEAR SIR,

NOTHING would have been more agreeable to me than to employ my muse on the subject you send me; but the more I regret the vast inequality of my poor muse to such an arduous task. If therefore it is not so well executed as I could wish, I readily own it was owing to my own incapacity, and not to any defect in our language: for that is (at least I am willing to believe it is) adequate to the highest strains of panegyric, and abundantly fitted for copiousness and significancy to express the sublimest thoughts in as sublime a manner as any other language in the universe, and exempted from all difficulties and restraints. No: it has its own proper idioms as well as others have; and consequently when it is tied down to keep pace with another, it is strained and fettered like David in Saul's armour, and like him had rather its own sling and stone (the meanest of weapons) than to be armed *cap à pie* in suit and armour, which as it has not proved it knows nothing of. This with regard to translation it fares with all languages; but more especially where there is such a very great (I had almost said irreconcilable) difference between the property and idioms of two languages, as confessedly there is between ours and the English.

This difficulty (great as it is) is again doubly augmented when our translation is required to be in verse. There, besides the usual difficulty of making what is beautiful in the one appear like common sense in the other, we are tied to find out and range in order letters and syllables. What is required in this literal muster (if I may call it) you very well know, so that it is sufficient for me only to mention it. Perhaps it were to be wished that the Rules of Poetry in our language were less nice and accurate; we should then undoubtedly have more writers, but perhaps fewer good ones. I would never wish to see our poetry reduced to the English standard; for I can see nothing in it that should entitle it to the name of poetry, but only the number of syllables (which yet is never scrupulously observed,) or, if you please, poetic words and a wretched rhyme (sometimes) at the end, in blank verse, i. e. the best kind of English Poetry—no rhyme at all. Milton's Paradise Lost is a book I read with pleasure, nay with admiration and raptures: call it a great, sublime, nervous, or if you please, a divine work, you will find me ready to subscribe to anything that can be said in praise of it, provided you do not call it poetry; or if you do so, that you would likewise allow our Bardd Cwsg to take its seat among the Poets. As English Poetry is too loose, so ours certainly is too much confined and limited, not in the Cynghaneddau, for without them it were

no poetry, but in the length of verses and poems too, our longest lines not exceeding ten syllables (too scanty and spare to contain anything great within the compass of six or seven stanzas, the usual length of our Gwawdodyn Byr,) and our longest Poems not above sixty lines—the standard measure of David ab Gwilym's Cywyddau, which is far from being a length adequate to a Heroic Poem. However, these are, I apprehend, difficulties that will never be remedied; these models our wise forefathers left us, and these, I presume, they judged most agreeable to the genius of our nation and language. Some freedom and ease of composition is, and was always observed to be productive of happier effect than an over-rigid and starched nicety. Thus, the Greeks were much less confined as to quantities than the Romans; and, not to detract from Virgil's deserved praise, I think the Greeks may be justly allowed to be preferable to him almost in such a measure and proportion as an original writer is to a translator. The Romans had several words even in their own language that by reason of their quantities could not possibly be put into verse. Thus Horace was at a loss to name the town *Equotutium,* and was fain to describe it by a round about sort of paraphrase. And Martial was hard put to to name the favourite boy Earinus, Domitian's valet. But on the contrary every harsh word sounded smooth in a Greek's mouth. They might sound *ăces āces* with an air as though they

made the same syllable in the same word to be first long, and then, with the same breath, short. This Martial wittily observes of them, and at the same time as wittily laments the over-rigid severity of his own country muses.

> "Nobis non licet esse tam ascitis
> Musas qui colimus severiores."

But with their severity, if Martial had been acquainted with the obstinate coy, and incompliant temper of our British Awen, he would certainly have taken the Roman Muses for a train of city courtezans. Besides our muse by long disuse has almost forgot to converse with princes, at least in the mode and language of the present times. No wonder then that my performance should fall short of the pattern given me: if I have kept the sense of my original, and dressed it in true tho' homely language, I hope it may be thought sufficient. If this manner of address is already customary I commend it, and will, if desired, provide something better, if I live, against next year. Let me know whether such an address might not be agreeable on the Prince's Birth-day. I think I could with a little rubbing over, get the rust off my muse on such occasion, but Cantabs have it fresh and free. Eich rhwymedig wasanaethwr,

GORONWY DDU.

## LLYTHYR 8.

### AT MR. W. MORRIS.

DONNINGTON, Chwefror 24, 1753.

GAREDIG SYR,

LLYMA 'r eiddoch o'r 10fed yn f' ymmyl er ys wythnos; er hoffed yw genyf eich epistolau, etto nid wyf mor annioddefgar nad allwn weithiau aros eich cyfleusdra am danynt, nac mor sarrug nad allwn faddeu rhyw swrn o'ch esgeulusdra o bai raid, a chyd-ddwyn â'ch annibendod, am nad wyf fy hun mor esgud ag y gweddai; felly boed sicr i chwi nad ymliwiaf byth â chwi o'r erthyb hwnnw; a phed fawn Bâb, chwi gaech lonaid y cap coch o'm pardynau. Prin y gallech goelio, ac anhawdd i minnau gael geiriau i adrodd, mor rwymedig wyf i Mr. Ellis a chwithau. Diau mai o wir serch ar ddaioni, ac nid o ran cydnabyddiaeth, neu un achos arall o'r cyfryw, y mae Mr. Ellis gymmaint ei garedigrwydd; a Duw awdwr pob daioni, a dalo iddo.—Fe orfydd arnaf, yn ddiammau, chwilio am ryw le cyn bo hir, ac felly dybygaf y dywedwch chwithau pan wypoch fy hanes: Y mae genym yma ryw ddau 'scwier o hanner gwaed (chwedl y Bardd Cwsg) un Mr. Lee, ac un arall Mr. Boycott, y naill a fu, a'r llall sydd, yn Ben Trustee i'r Ysgol yma. Yr oeddwn o'r dechreu hyd yr awr hon mor gydnabyddus â'r naill ag â'r llall: y diweddaf sydd un o'm plwyfolion yn Uppington;

ond y llall a fu yn wastadol yn gynnorthwywr i mi yn fy anghenion: Mr. Lee, a roddai i mi fenthyg pump punt neu chwech wrth raid, ond gan B—tt, ni chaid amgen na *mwg* o ddiod a phibellaid; ac weithiau pan ddigwyddai iddo ddyfod i'r Eglwys (yr hyn ambell flwyddyn a fyddai yng nghylch teirgwaith) mi gawn ran o'i giniaw, os mynnwn, ond fe'm naccaodd y cadnaw o fenthyg chweugain wrth fy angen, er nas gofynaswn ond i brofi ei haelder ef; 'rych yn llygadrythu, ysgatfydd, wrth glywed sôn am fenthyccio arian, ond nid rhyfedd y peth, a mi yn dal rhyw faint o dir, ac yn talu treth ac ardreth a chyflogau, heb dderbyn mo'm cyflog fy hun ond dwy waith, ac yn amlaf unwaith, yn y flwyddyn. Pa ddelw bynnag, mae rhyw elyniaeth rhwng y ddau wr uchod, a'r sawl a gaffo gariad un, a fydd sicr o gâs y llall; Lee, sydd χοιων, a Boycott sydd yn un o addolwyr Iago. Pob cyffelyb ymgais, fal y dywedant; felly nid anhawdd dirnad pa un gymmhwysaf ei hoffi o ran ei blaid, a phed amgen, pa un a haeddai hefyd ei hoffi er mwyn ei haelioni. Nid ellais erioed aros addolwyr Baal, Iago, &c. &c., a'u *cabals* a'u celfi, ac ni ddysgais erioed chware ffon ddwybig, a thybio 'r wyf, na ddichon neb wasanaethu Duw a mammon. And if my policy is not, sure my honesty and plainness are to be commended. O'r ddeuwr hynny Boycott yw eilun fy Meistr, (fal y mae gnawd i un o ucheldir yr Ablan,) a chan fod yn gorfod arno ef fod yn Llundain, ar law Boycott y

gadawodd ei holl fatterion yma, i'w trin fal y mynno; ac felly Boycott sydd yn talu i mi fy nghyflog ac yn derbyn fy ardreth, &c. &c. Ac yn awr dyma 'r anifail, wedi cael o honaw fi yn ei balfau dieflig, yn dwyn fy nhippyn tir oddiarnaf, without the least colour of reason or justice, or even the formality of a warning. Yn iach weithian i lefrith a phosel deulaeth, ni welir bellach mo'r danteithion hynny heb i mi symmud pawl fy nhid. Ni wiw i mi rhagllaw ddisgwyl dim daioni yma, ac anghall a fyddai fy mhen pe disgwyliwn, ac odid i mi aros yma ddim hŵy na hanner y gwanwyn o'r eithaf: ond o'r tu arall mae i mi hyn o gysur; dacew Mr. Lee, wedi cael i mi addewid o le gan yr Arglwydd Esgob o Landaff, yn gyntaf fyth y digwyddo un yn wâg yn ei Esgobaeth; mi glywaf ddywedyd na thâl y lleoedd hynny nemmor, ac nad oes ond ychydig iawn ar ei law ef ped fai'r holl bersoniaid yn meirw. Beth er hyny? Gwell rhyw obaith na bod heb ddim; ond Och fi, wr fach! pa fodd i ddyall eu hiaith *hwynt-hwy?* a pha bryd y caf weled fy anwylyd Môn doreithiog a'i mân draethau? Dyna gorph y gaingc. Llawer gwaith y bwriedais gynt (ac ni's gwelaf etto achos amgen) na ddown byth i Fôn i breswylio, hyd na bawn well fy nghyflwr nag yr oeddwn pan ddaethum allan o honi: pan ddaethum o honi, 'roedd genyf arian ddigon i'm dianghenu fy hun, a pha raid ychwaneg? ac nid oedd arnaf ofal am ddim ond f' ymddwyn fy hun fal y gweddai, a thybio 'r oeddwn fod dwy law a dau lygad yn

llawn ddigon i borthi un genau: diammeu na thybia'r byd mo'r cyflwr presennol elfydd i hwnnw a grybwyllais: y mae genyf yn awr lawer o safnau yn disgwyl eu porthi, er nad oes gennyf ond yr un rhifedi o ddwylaw, &c. &c., ag o'r blaen tu ag at ymdaro am fy mywyd; etto er maint fy ngofalon, cyn belled wyf oddiwrth feddwl fy nheulu'n bwys a gormes arnaf, a'm bod yn fy nghyfrif fy hun yn yn gannwaith dedwyddach na phed fai genyf gann punt sych wrth fy nghefn am bob safn sy genyf i ofalu trosto: oblegyd pe digwyddai i mi unwaith ddyfod at gerrig y Borth yn y cyflwr yr wyf, da y dylwn ddiolch i Dduw, a dywedyd fal y dywaid y Patriarch Jacob, "Ni ryglyddais y lleiaf o'th holl drugareddau di, nag o'r holl wirionedd a wnaethost â'th was, oblegyd â'm ffon y daethum dros *y Fenai* hon, ond yn awr yr ydwyf yn ddwy fintai:" a diau mai fy ffon a minnau oedd yr holl dylwyth oedd genyf pan ddaethum tros Fenai o Fôn, ond yn awr y mae gennyf gryn deulu a ro'es Duw i mi mewn gwlad ddieithr. Bendigedig a fyddo ei enw ef.

If I was ever so sanguine, I could hardly hope that the said Bishop of Landaff would find me any thing so soon as I shall want, which must be probably about lady-day next, and consequently should not be so indolent as to leave myself unprovided in case of nescessity. To use one's own endeavours is not at all inconsistent with a firm reliance on providence. I should be very glad to hear of a curacy in any county of North Wales, excepting Anglesey and

Denbighshire, the first I except for the reason above mentioned, and the other, because I know the inhabitants of it too well. Pobl gignoethaidd, atgas ydynt, ffei arnynt! as my wife is used to say in her Shropshire dialect. I beg you would be so good as to get some intelligence whether that Curacy in Lancashire, where young Owen of Aberffraw was to have gone to, may now be had, and if so, whether the place is worth stirring for. I have no objections to that country any more than this; I am now pretty old priest, and any one that would serve turn in Shropshire, especially in this part of it, might also suit any other county in England, London only excepted. As I am in favour with Mr. Lee, nid anhawdd a fyddai iddo ef ddal i mi grothell yn mha le bynnag y byddwn, ond cadw o honof yr hen gyfeillach ar droed. Mâe o yn ŵr mawr iawn gyda Earl of Powys, (Lord Herbert gynt,) Sir Orlando Bridgman, Esgob Llandaff, ac aneirif o'r gwyr mwyaf yn y deyrnas; ond y mae yn awr yn bur henaidd ac oedranus, yn nghylch 65 neu 70 o leiaf, ond fe allai Duw iddo fyw ennyd etto er fy mwyn i. Nid rhaid i chwi yngenyd mo hyn wrth y Llew, rhag iddo ddifrawu o'm plegid, ac felly i minnau golli'r gobaith o ddyfod fyth i Fon; ond y mae'n debyg ei fod yn gwybod eisus, oblegyd yn ddiweddar, pan oedd Person Bodfuan yn Lleyn wedi marw, mi ddymunais ar Mr. Richard Morris fyned yn enw Mr. Lee a minnau at Esgob Llandaff i ddeisyf

arno ofyn y lle hwnw i mi gan ei frawd Esgob o Fangor. Pa sut a fu rhyngddynt ni's gwn i, ac ni's gwaeth genyf, mi a gollais yr afael y tro hwnw; ond y mae Mr. M. o'r Navy Office yn dywedyd addaw o Esgob Bangor ynteu wrtho ef y cofiai am danaf ryw dro neu gilydd, pe bai goel ar Esgob mwy nag arall. Ni's gwn i pa'r fudd a ddaw; ond hyn sydd sicr genyf, fod yr un nefol ragluniaeth ag a'm porthodd hyd yn hyn, yn abl i'm diwallu rhagllaw; a pha bryd bynnag y digwyddo i mi saethug, fod Duw yn gweled mai rhywbeth arall sydd oreu er fy lles. Nid oes yma bwt newydd yn y byd o Gywydd nac Awdl weithian, oblegyd mi fu'm yn cael llawn hwde ar wneuthur rhyw Gywydd i'r Gymdeithas o Gymmrodorion yn Llundain, ar ddymuniad y gwr o'r Navy Office, a da yr haeddai oddiar fy llaw bob peth a f'ai yn fy ngallu; ni welais i erioed ei garedicach o Gymro na Sais, er na's gwelais erioed mo'no yntau.—Dyna gydnabyddiaeth ryfeddol! Dyma'r Cywydd hwnw i chwi, fel ag y mae; ond yn gyntaf rhaid i mi eglurhau y testyn i chwi, yr hwn sydd fel y canlyn. It is an address to His Royal Highness the Prince of Wales, to be presented to him by the Lord Bishop of Peterborough (his Highness's Preceptor) in the name of the Society of Ancient Britons, on St. David's day next, in Welsh and Latin. The Latin is composed by some young Cymro in Cambridge, and the Welsh by your servant Gronwy Ddu. That the Latin and Welsh might tally, the

address was drawn up in English at London, and sent to me (and I suppose to Cambridge too) to be translated into verse, so that this Cywydd is but a translation, and I disclaim all praise and dispraise alike from every thought, figure, fancy, &c. in it; nothing of it is mine but the cynghanedd and language. Y mae'n gyffelyb fod Ieuan Brydydd Hir ac eraill wedi eu rhoi ar waith ar yr un achos, ac mai'r Cywydd goreu a ddewisir i'w ro'i i'r Tywysog: a sicr yw, os felly y mae, ni chaiff fy Nghywydd i ddangos mo'i big i'w frenhinol Uchelder. (Y Cywydd a adewir allan o herwydd ei fod wedi ei argraffu.[1]) Dyna i chwi y Cywydd fal y mae, ac os boddia'r Gymdeithas, nid wyf yn ameu na chewch glywed ychwaneg o son o Lundain; fe'i hargraffir mae'n debyg cyn ei ro'i i'r Tywysog. Os byw fyddaf ryw Wyl Ddewi arall, mi fynnaf finnau genhinen sidan o Lundain; nid oes yma ond cennin gerddi i'w cael, ac ni's gwaeth gan lawer am eu harogledd hwy, ond yn enwedig y Saeson yma. Mae genyf un ffafr arbenig i'w gofyn genych, a hyny yw, fod o honoch mor fwyn a gyru i mi o dro i dro yn eich llythyrau, engraffau, neu siamplau o'r pedwar mesur ar hugain. This is a favour I've been a begging of Mr. Lewis Morris this whole twelve months and above without any effect. One example or two in a letter would soon make me acquainted with them. I suppose you either have or may borrow Grammadeg Sion Rhydderch; I remember my father had one of them

[1] Gwel tu dal. 35.

formerly, and that is the only one I ever saw, and as far as I can remember, it gave a very plain, good account of every one of them, viz., Cywydd Deuair Hirion (or the like) a fesurir o 7 sillaf, &c., &c. All the Measures I know at present are Englynion Unodl Union, Cywydd Deuair Hirion, Gwawdodyn Byr, and Englyn Milwr: I protest I know no other. The two last, Mr. Lewis Morris brought me acquainted with, and the only knowledge I had of Gwawdodyn Byr, when I made my Gofuned, was a stanza or two of it, made by Ieuan Brydydd Hir on Melancholy that Mr. Morris had sent me as a specimen of his ability in Welsh Poetry, and no wonder that my Gofuned should be faulty in blindly copying after so inaccurate a pattern. Is it not a pity that many a pretty piece should be for ever lost for want of proper help to produce it! 'Rwyf agos a diflasu yn canu yr un dôn byth fel y gôg. Mae Cywydd yn awr, o eisiau tipyn o ryw amheuthyn, wedi myned mor ddiflas a photes wedi ei ail dwymno. Gyrwch i mi ryw un neu ddau o'r mesurau na's adwaen yn mhob llythyr, ac yna mi fyddaf yn rhwymedig i ganu'ch clod yn mhob mesur o honynt. My compliments, and sincerest thanks to Mr. Ellis.—F'anerch at eich tad yn garedig, ac at William Elias, os digwydd i chwi ei weled. Gadewch glywed oddiwrthych oddiyna pan gaffoch awr o hamdden, ac fe fydd i chwi ddiolch o'r mwyaf am bob llythyren, gan (yr anwyl gydwladwr) eich rhwymedicaf wasanaethwr,

GRONWY DDU O FON.

O. S. Ai ê, ai ê, meddwch chwi, Mr Owen yw'r Bwrdais dros dref y Duwmaris: ai 'un o honom ni yw efe? ai ynte un o blant Alis y Biswail? meddwl yr oeddwn nad oedd neb o foneddigion Môn yn *χουγιαιδ* namyn Mr. *Μευϱιγ ο Βοδοϱγαν* yn unig. Fe fu Mr. Owen o Brysaddfed yn byrddio gyda mam fy ngwraig i yn Nghroes Oswallt pan oedd fachgen yn yr Ysgol yno. Ni chlywais o Allt Fadog er ys 6 wythnos neu 7.—Gobeithio fod pawb yn iach yno. Byddwch siongc.

## LLYTHYR 9.

SALOP, April 19, 1753.

DEAR SIR,

I take this opportunity to return you thanks for the favour you did me in procuring me a curacy that is much better than my former, and to let you know that Mr. Brooke is willing to allow me £35 per annum according to my expectation. I do accept of it, and am engaged by promise to be at Walton before Low-Easter Sunday, and hope this exchange will be for my good. I am now in Salop, where I came to buy some few necessaries for rigging, &c. for I would not willingly appear very ill accoutred in a strange place on my first arrival. I forgot fo bring a frank with me from home, and am loath to miss this Post, so beg you will pardon my putting you to a great expence this one time; as soon as I arrive at Walton I shall write to you

again, and then the frank will be of service. If Sion Dafydd Rhys is not already set out, I beg you would stop him till I am fixed at Walton. My compliments to Mr. Ellis, with abundance of thanks for S. D. Rhys. My neighbouring ministers have promised to officiate for me here till a successor be provided, so my present patron can't think himself ill-used. The worst that I have to fear from this affair is, that I shall have some difficulty in removing my family. As soon as I am fixed you shall hear from me. I've no leisure to add any more, but that I am, Dear Sir, your most obliged humble servant,

GORONWY OWEN.

O. S. Gwae fi na wyddwn pa un ai bod Llewelyn yn Ngallt Fadog ai ynte yn Llundain; yr wyf ar dorri fy nghalon o eisiau clywed oddiwrtho fo.

## LLYTHYR 10.

### AT MR. W. MORRIS.

WALTON, Ebrill 30, 1753.

YR ANWYL GAREDIG GYDWLADWR,

DYMA fi yn *Walton* o'r diwedd, ar ol hir ludded yn fy nhaith. Mi gyrhaeddais yma bore ddoe, ynghylch dwy awr cyn pryd gwasanaeth; a'r Person a'm derbyniodd yn groesawus ddigon. Ond er maint fy lludded, fe orfu arnaf ddarllen y gwasanaeth a phregethu fy hun y bore, a darllen

gosper yn y prydnawn, ac yntau a bregethodd. Y mae y gwr yn edrych yn wr o'r mwynaf; ond yr wyf yn deall fod yn rhaid ei gymmeryd ef yn ei ffordd. Mae y gwas a'r forwyn (yr hyn yw yr holl deulu a fedd) yn dywedyd mai cidwm cyrrith, anynad drwg-anwydus aruthr yw: ond pa beth yw hynny i mi? Bid rhyngddynt hwy ac yntau am ei gampau teuluaidd; nid oes i mi ond gwneyd fy nyledswydd, ac yno draen yn ei gap. Hyn a allaf ei ddywedyd yn hŷ am dano, na chlywais erioed haiach well pregethwr, na mwynach ymgomiwr. Climmach o ddyn amrosgo ydyw—garan anfaintunaidd—afluniaidd yn ei ddillad, o hyd a lled aruthr, anhygoel, ac wynebpryd llew, neu ryw faint erchyllach, a'i ddrem arwguch yn tolcio ym mhen pob chwedl ddigrif, yn ddigon er noddi llygod yn y dyblygion; ac yn cnoi dail yr India hyd oni red dwy ffrwd felyngoch hyd ei ên. Ond ni waeth i chwi hynny na phregeth, y mae yn un o'r creaduriaid anferthaf a welwyd erioed y tu yma i'r Affric. Yr oedd yn 'swil gennyf ddoe wrth fyned i'r Eglwys yn ein gynau duon fy ngweled fy hun yn ei ymyl ef, fel bâd ar ol llong.

Bellach e fyddai gymmwys rhoi i chwi ryw gyfrif o'r wlad o'm hamgylch; ond ni's gwn etto ddim oddi wrthi, ond mai lle drud anial ydyw ar bob ymborth: etto fe gynnygiwyd i mi le i fyrddio (hyd oni chaffwyf gyfle i ddwyn fy nheulu attaf) yn ol wyth bunt y flwyddyn; a pha faint rhattach y byrddiwn ym Môn? Nid yw y bobl y ffordd

yma, hyd y gwelaf fi, ond un radd uwchlaw Hottentots; rhyw greaduriaid anfoesol, didoriad. Pan gyfarfyddir â hwy, ni wnant onid llygadrythu yn llechwrus, heb ddywedyd pwmp mwy na buwch; etto yr wyf yn clywed mai llwynogod henffel, cyfrwys-ddrwg, dichellgar ydynt: ond yr achlod iddynt, ni'm dawr i o ba ryw y b'ont.

Pymtheg punt ar hugain yw yr hyn a addawodd fy *Mhatron* i mi; ond yr wyf yn deall y bydd yn beth gwell na'i air. Ni rydd i mi ffyrling chwaneg o'i bocced; ond y mae yma Ysgol râd, yr hon a gafodd pob Curad o'r blaen, ac a gaf finnau oni feth ganddo: hi dâl dair punt ar ddeg yn y flwyddyn. Fel hyn y mae: pan fu farw y Curad diweddaf, fe ddarfu i'r *plwyfolion* roi yr Ysgol i'r clochydd; ac yn wir, y clochydd a fyddai yn ei chadw o'r blaen, ond bod y Curad yn rhoi iddo bum punt o'r tair ar ddeg am ei boen. Ond nid oes, erbyn edrych, gan y plwyfolion ddim awdurdod i'w rhoi hi i neb; ond i'r Person y perthyn hynny; ac y mae efe yn dwrdio gwario 300 neu 400 o bunnau cyn y cyll ei hawl. Felly yr wyf yn o led sicr o'i chael hi; ac oni chaf, ni's gwn yn mha le y caf dŷ i fyw ynddo; odid i mi ei chael hithau gryn dro etto, tu a'r Mehefin neu y Gorphenaf, ysgatfydd, pan ddel yr Esgob i'r wlâd.

Os yw J. D. Rhys heb gychwyn, gyrrwch ef yma gyd â'r llong nesaf; a byddwch sicr o'i lwybreiddio ef, a'ch holl lythyrau, at Rev. G. Owen, in Walton, to be left at Mr. Fleetwood's, Bookseller,

near the Exchange, Liverpool. Mi a welais yn Liverpool yma heddyw rai llongwyr o Gymru, ïe, o Gybi, y rhai a adwaenwn gynt, er na's adwaenent hwy mohono fi, ac na's tynnais gydnabyddiaeth yn y byd arnynt, amgen na dywedyd mai Cymro oeddwn o Groesoswallt, (lle na's adwaenent hwy,) ac felly yr wyf yn dyall fod yn hawdd cael y peth a fynnir o Fôn yma. Ond drwg iawn gennyf glywed fod Mr. Ellis anwyl yn glâf. Er mwyn Duw rhowch fy ngwasanaeth atto, a chann diolch am y Dr. Davies.

Nid oes gennyf ddim ychwaneg i'w ddywedyd yn awr, ond bod y genawes gan yr awen wedi naghau dyfod un cam gyda myfi y tu yma i'r Wrekin, (the Shropshire Parnassus,) and that as far as I can see, there is not one hill in Lancashire that will feed a muse; however we will try whether a muse (like a Welsh horse) may not grow fat in a plain level country. If that experiment will not do, I know not what will. I beg to hear from you by the return of the Post, and let me know if Mr. Ellis is any thing better: his death, I am sure, would be an irretrievable loss, not only to Holyhead and Anglesea, but to all Wales. Don't fail to let me hear from you as soon as possible, and how my dear poetry tutor, Llewelyn *(Lewis Morris)* does. I have no time to write more, but that I am, Dear Sir, Your most obliged humble servant.

GORONWY DDU O FON.

**Calanmai Newydd yn Nhref Lerpwl.**

of an *Eisteddfod*; I wish we had an Eisteddfod again to give them a *dimittimus* to some peaceable acrostic land to sport and converse, with the spirits of deceased puns, quibbles and conundrums of pious memory. Then could I gladly see the true primitive metres reinstated in their ancient dignity, and sense regarded more than a hideous jingle of words which hardly bear sense. But where would I be till the antiquated *crwth a thelyn rawn* are in fashion again? which I must fear is not likely to be within this century. Dyma i chwi ryw fath ar ddynwared caniad ar 24 Mesur i'ch Cymdeithas a'ch Iaith; a chan mai hwn yw y cynnyg cyntaf a roddais erioed ar ganu ar y 24, nid ydwyf yn disgwyl amgen na bo rai beiau a gwallau ynddo: etto os yw Grammadeg Sion Rhydderch yn gywir, yr ydwyf yn tybied nad oes nemawr o feiau anafus yn y Gerdd ychwaith. Pan ddel Ioan Dafydd Rhys i'm dwylaw mi ganaf yn gywreiniach. Ni yrrais mo hwn i'r Allt Fadog etto, ond mi a'i gyrraf pan gaffwyf amser; ac yno mi gaf wybod beth a dalo. Chwi ellwch weled na bydd mor lle i'r [1] *Gwyn* nac i'r [2] *Hir* i achwyn bod gormod o *lusg a sain* yn hwn, a bychan o'r *groes* a'r *draws*, oblegyd ni's gwn fod ynddo ond y *groes rywiog*, os yw honno yn well nag eraill; eithr nid wyf fi yn medru canfod gorchest yn y byd ar un gynghanedd mwy na'r llall: yr oreu yn fy nhyb i yw'r hon a ddelo naturiolaf.

GORONWY OWEN.

[1] Y Parch. W. Wynne, Llangynhafal. [2] Ieuan Brydydd Hir.

## LLYTHYR 18.

### AT MR. RHISIART MORRIS.

Walton, Ionawr 24, 1854.

Y CAREDIG GYDWLADWR,

ECHDOE y derbyniais yr eiddoch o'r namun un ugeinfed o'r mis sydd yn cerdded. Drwg iawn gennyf glywed am y peswch brwnt sy 'n eich blino, a meddwl yr ydwyf nad oes nemawr o'r gwyr a faccer yn y wlad a eill oddef mygfeuydd gwenwynig y ddinas fawr, fwrllwch yna. Mi a adwaenwn lawer a gollasant eu hiechyd yna, mewn llai na'r ugeinfed ran o'r amser y buoch chwi yn preswylio ynddi. Duw piau llywodraethu a rhanu bywyd a'r iechyd; ac os mynai efe, llwyr y dylai Cymry erfyn arno ganiatau i chwi yn hir bob un o'r ddau, oblegyd pe amgen, ni's gwn pa peth a ddelai o honynt na'u hiaith ychwaith; ond am ein cenedl, honno a ymdarawai drosti ei hun, gan ddirywio ac ymollwng yn ei chrynswth, i fod yn un â chenedl fawr yr Eingl; lle yna y gwirid geiriau y drwg ewyllyswyr, sef na pharha ein hiaith oddiar 100 mlynedd ar wyneb y ddaiar. Telid Duw iddynt am hynawsedd y darogan. Dyma fy hen Athraw a'm cydwladwr Sion Dafydd Rhys wedi dyfod i'm dwylaw, yr hwn a roesai Mr. Ellis o Gaer Gybi i mi er's nawmis, ac Och fi! mae yn dywedyd fod bai anafus yn y caniad a yrrais i chwi ar y 24 mesur. Yn y Tawddgyrch Cadwynog y mae'r bai, oblegyd fe ddylasai y sillaf gyntaf oll

o honaw fod yn un â'r brifodl, (sef yw *O'ch* yr un sain â'r brifodl *fethoch.*) Ac am hynny (cyn y dangoswch i'r Gymdeithas,) dymunaf arnoch ei ddiwygiaw fel y canlyn; sef yn lle

"Gu flaenoriaid gyflawn eiriol
Yn hoff unol iawn y ffynoch."

darllenwch

"O'ch arfeddyd wych wir fuddiol
Er Nef fythol, wyr, na fethoch."

ac yna nid oes anaf na bai arno. Ac hefyd, os mynnwch, chwi allwch roi yn y Cadwyn fŷr

"Gwymp odiaethol gamp y doethion,
A'r dilysion wŷr da lesol."

A thybio'r wyf hynny yn well. Ni's medraf weithon feddwl am un bai arall, a gobeithio 'ddwyf nad oes yr un ynddi.

Dyma i chwi ganiad arall ar y 24 mesur, a wneuthum wedi'ch un chwi, a thybio'r wyf ei bod beth cywreiniach. Marwnad yw i Mr. J. Owen, o'r Plas yn Geidio yn Llŷn, sef hen gyfaill anwyl gennyf fi gynt; ac er nad adwaenoch chwi mo hono; etto, tra bo hoff gennych y prydydd, chwi a hoffwch ei waith, ar ba destyn bynag y bo. But let me tell you that whatever I have said of him does really and in strict truth fall short of doing justice to his character. He was one of the brightest patterns of Christian virtues that were consistent with his position in life, (which was but a gentleman Farmer,) that ever adorned his country. His strict probity, temperance, modesty, and

humanity were singularly eminent and conspicuous. But above all, his charity to the poor was particularly remarkable. Yn y blynyddoedd tostion hynny, pan oedd yr ymborth cyn brined a chyn ddruted, hyd nad oedd yn gorfod ar lawer werthu eu gwelyau danynt i brynu lluniaeth, a phawb a feddai ŷd yn ymryson am y drutaf a'r caletaf: yr oedd y pryd hynny galon John Owen yn agored cystal a'i ysguboriau, ac yn y Plas Yngheidïo cai y rhan fwyaf o ddynion Llŷn eu llunniaeth, yn enwedig y trueiniaid llymmion, y rhai gan mwyaf, oeddynt Bysgodwyr Nefyn. Nid oedd yno ddim nàg am ŷd, bid arian bid peidio; talent os gallent pan lenwai Duw eu rhwydau, ac onid ê, (fal y dywedai yntau, mi a'i clywais e yn aml,) "Doed a ddel rhaid i bob genau gael ymborth." Ai ê, meddwch, nid oes gennych neb yn eich Cymdeithas ond chwi eich hun a fedr wneuthur ymadferth nag ystum yn y byd tu ag at ddanfon neu ddangos eich amcanion buddiol i'r byd. Och fi! Gresyndod mawr yw hynny! Gwae fi na bawn yn eich mysg, ni chai fod arnoch ddim diffyg ysgrifenydd na dim arall o fewn fy ngallu fi. Ceisied yr Aelodau gwasgaredig, o'ch Cymdeithas, eich cynnorthwyo oreu gallont tu ag at y tipyn llyfryn hwnnw os oes modd. Rhoed Gwilym Cybi ei law i mewn am lysiau, blodau garddwriaeth, canys nid oes mo'i well am hynny. Rhoed Llewelyn yntau ei ran am hynafiaeth, hanesion, ac historiau, philosophyddiaeth anianol a'r cyffelyb, yr hyn

bethau a ŵyr oddiwrthynt oreu yn Nghymru, (pe cai amser) ond ni's gwn i ddim oddiwrthynt. Minau (ac Ieuan Brydydd Hir, agatfydd) a roddaf fy nwy hatling tu ag at Farddoniaeth, Philology, a'r cyffelyb; a thros ben hyny nid ymddyrchafaf, oblegyd na's meddaf nac amser na llyfrau; diolch i chwi am eich cynnyg; ond nid llyfrau Lladin a Groeg sydd arnaf fi fwyaf eisiau, ond llyfrau Cymraeg, sef hen MSS, ac eisiau yw hwnnw na cheir mo'i dorri hyd onid elwyf i Gymru. Pe medrech daro wrth y *Minor Poets,* sef Hesiod a Theocrites a Horas, e fyddai da gennyf. They are very common. Y peth sy'n peri i mi ddeisyf Horas Minellius yw, fod yn ei ddechreu daflen o holl fesurau Horas; meddwl yr ydwyf mai 24 sydd o honynt fel yn Gymraeg. Ac amcanu yr oeddwn weithio Awdl ar y 24 yn y ddwy iaith erbyn Gwyl Ddewi. But this I leave to you: perhaps it would be better to pitch upon some *one* of the measures in each language, and follow it to the end of the Ode, *Gwawdodyn Hir* or *Byr, a Thoddaid, &c.* in Welsh; and Sapphic, Alcaic, or the like in Latin. GRONWY DDU.

## LLYTHYR 19.

### AT MR. W. MORRIS.

WALTON, Chwefror 17, 1754.

DEAR SIR,

I received yours of the 4th of (January according to your date) February, and am exceedingly

obliged to you for the sheet Almanack. You need not trouble yourself to send ever another unless you have it ready by you, and can send it along with the MSS by ship to Liverpool. You could not possibly send me any thing more agreeable than that copy (unless it were £100 in cash,) for I never saw any thing of that kind in my life that was worth seeing. I beg therefore you would not fail to send it by the first ship that comes, and I do solemnly promise to return it whenever you shall require in case the original should be called for, &c. Rhowch fy annerchion yn llawn parch at Mr. Ellis, a dywedwch y cofiaf am y *new style* pan gaffwyf hamdden, ond fy mod yn awr yn dra phrysur yn ceisio clytio rhyw fath ar Ddyri i Siors Tywysawg Cymru erbyn Gwyl Ddewi, ar ddymuniad ein Cymdeithas o Gymmrodorion. Gwyr yw y rhai hynny na fynnant mo'u siomi, onid ê ni wnant lai na gwneuthur botasau o'm croen, fal y dywedai yr hen bobl gynt. Rhyfedd iawn o chwerwed yw'r hen Ddoctor Sion Dafydd Rhys yn ei Ragymadrodd. Pwy a allai'r "brynteion sothachlyd, a'r burgunieit gogleddig, (sef yw hyny camweddawg anfeidrol,) o'r gwaethaf ar a aned erioed o wraig" fod? ai tybaid mai Ysgottiaid oeddynt? Os ê, cennad i'm crogi, onid yw Douglas fy hen feistr yn un o'u heppil hwy, neu'n tarddu o'r un grifft? Nid oes bosibl fod yr hen ŵr mor giaidd a galw pobl Gwynedd yn ddynionach dieithr gogleddig, ac yntef ei hun yn ŵr o Ogledd Môn, y lle gogleddaf agos yn Nghymru.

'Rwyf fi yr un feddwl ag yntef am y rhai a wadant neu a ddirmygant yr iaith Gymraeg, sef nad y'nt ond cachadyddion a brynteion eu gwlad, ac o'm plegid i cachadyddion a phibadyddion y cant hwy fod, ie, a chrachyddion a chachaduriaid, a chwew-alltiaid, os mynir; ie, ac os gwaeth hyny, mi glywn arnaf eu galw yn anifail cors, yr enw mwyaf tafod-ddrwg a glywais erioed o ben fy mam. Digrif eich dywediad nad oes gan y Teifisiaid ddim bodiau. Gwych a fyddai fod bawd-fys rhyw hanner cant o'r brynteion dihiraf o naddynt yn nhwll y chwil, a gwrth-hoel den arno, tros dro. Mi glywaf fyned Cywydd y Farn i Lundain, ond mae'n debyg na ddaw byth oddiyno, oblegid ni phrintir byth mo'no ei hun, ac nid wyf yn deall fod ganddynt etto faint yn y byd o'r pethau eraill, sef Natural Philosophy, History, &c. yn barod i'w printio gyd ag ef. Nid oes gan y Mynglwyd neb i'w helpu, ac ni ddichon iddo ef ei hunan ddyfod byth i ben ag ysgrifennu a chasglu y cwbl, ac yntau a'i ddwylaw yn llawn gwaith eisoes. Yn ol a glywaf ganddo, ni fyddai waeth gyrru pastynod i Lundain na rhai aelodau o'r Gymdeithas; pechod na b'ai ganddynt ddau neu dri o ddynion celfyddgar, a'u dwylaw yn ddi-drafferth i ysgrifennu iddynt.

Now I shall have a little more time, for evening prayers are over; all the rest (excepting the Awdl) was written before, and in a very great hurry, for fear of missing this post; which you may see by the badness of the writing. Pa beth (yn rhodd) oedd

Bustl y Beirdd a gânt yr Hen Dalcen Têg yn llys Maelgwn Gwynedd? A pha ham y gelwid yn Fustl y Beirdd? Ai rhyw Dduchan i'r Beirdd ydoedd? Some satire on 'em? Or challenger or defiance to them? Be so good as inform me in your next. Well, here my neighbour Whatton is just going to set out for town, and I must shut shop in spite of me. Byddwch wych. Your very humble servant,

GRONWY OWEN.

## LLYTHYR 20.

### AT MR. W. MORRIS.

WALTON, Ebrill 1, 1754.

SYR,

DYMA hi'n well na phum wythnos er pan yrrais i Gaer Gybi; ond etto heb glywed na siw na miw oddi yna; pa beth a allai fod yr achos? yr wyf yn llwyr ofni y gorfydd arnaf roi yn y papur newydd eich bod wedi marw er ys mis o'r lleiaf; ac yno ddarparu naill ai awdl neu gywydd marwnad o goffadwriaeth barchus i'ch enw. Dacw hefyd ddau lythyr wedi myned rhyngddynt a Gallt Fadog, er ys ennyd o amser; ond (am a welaf) ni fuasai waeth gyrru Brân i geisio tir. Ai tybied ddarfod i'r tri brawd gydsynio â'u gilydd i farw bob y pen ar unwaith, o wirwaith goddef i dorri asgwrn cefn un Awen dinlesgethan, a hithau yn ddigon llibyn eisus o wrantu? Och fi, wrth sôn am yr Awen, y mae hithau wedi marw hefyd, neu o'r

lleiaf ar ei marw-ysgafn, ac ni's bydd byw chwaith yn hir.—Hi a'm cywilyddiodd dros byth, gan fethu o honi wneuthur Cywydd nag Awdl i'r Tywysog, Wyl Ddewi ddiweddaf; ond paham i mi feio ar yr Awen? oerfel yr hin, a noethni y wlad oerllom yma oedd ar y bai: dyna'r pethau a fagasant, a'r peswch oedd mam y pigin, a'r ddau hynny rhyngddynt a'm lladdasent yn ddifeth, oni bai borth Duw, a chyfferiau meddygon. Y mae yma farwolaeth fawr ym mysg pobl o bob oedran; tybio yr wyf o fewn y ddeufis aeth heibio na chleddais ddim llai na deugain corph; nid oes nemawr o ddiwyrnod na chleddwyf un, ac weithiau ddau, weithiau tri yn y dydd: a'r cleifion mor aml nad wyf yn cael gorphwys namyn eu gofwyaw; ac ni ddichon dyn fyth fod yn rhy ddiwyd a gofalus yn ei swydd yn y wlad yma; o herwydd fod yr offerynwyr Pabaidd yn rhy barod i ymwthio i fewn ar bob achlysur. Yr oeddwn wedi dechreu Awdl i'r Tywysog ar fesur Gwawdodyn hir, ond ni orphenais oddiar 3 neu 4 o benillion o hono, ac yn anorphen y caiff fod byth bellach.[1] Ac felly ymlaen yr aethai, hyd ddeuddeg neu ddeunaw pennill, pe cawswn hawnt a hamdden; ond, Och fi! ni chefais; am hynny hi a fethodd. Oni chaf glywed oddi wrthych yn o fuan, ni wiw i chwi ddisgwyl llythyr arall oddi yma o hyn i Galanmai; oblegyd nid oes gennyf un ffrencyn ond hwn a darewais wrtho ar ddamwain; ni's gwyddwn fod mo hono gennyf

[1] Gwel tu dal. 112.

y'mysg papurau, onidê mi a'i gyrraswn yna, neu i Lundain y'mhell cyn hyn. Yr wyf yn disgwyl gweled Mr. Fychan yn Nerpwl o hyn i ddiwedd y mis yma; ac os digwydd i hynny fod, nid wyf yn ammeu na rydd i mi ddwsin neu ddau, fal y tro o'r blaen, ond eu gofyn mewn rhigwm. Gwaethaf peth yw, nad ellir ymddiried i gymmeryd llawer o ffrancod neb, hyd onid el y *Lecsiwn* heibio; Beth, mor ddisymwth y bu farw Mr. Owen, o Breseddfod? Yr oedd gennyf dri neu bedwar o'i ffrancod ef yn fy ymyl pan glywais y newydd o'i farw. Pa beth a ddaeth o Ned Foulkes, Person Llan Sadwrn, oblegid mi glywaf fod ei le fo yn wag? Er mwyn dyn, gadewch gael benthyg y *copi* os oes modd yn y byd. Rhowch fy annerch yn garedig at Mr. Ellis, a gadewch wybod pa sut mae'n cael ei iechyd. Mi dderbyniais yn ddiweddar Destament Arabaeg, o Allt Fadog, a yrrasai Mr. R. Morris i mi er ys gwell na blwyddyn; ac er na's meddwn gymmaint a'r egwyddor yn yr iaith honno, mi ddysgais ei ddarllen mewn byr amser; ac yn wir nid anhawdd ei ddeall am ei bod yn swrn debyg i'r Hebraeg. Gwyn ei fyd a feddai Ramadeg neu Eirlyfr o'r Arabaeg, fal y mae gennyf o'r Hebraeg; yno mi drinwn y naill gystal a'r llall; ond beth a dal i mi sôn am ddysgu dim? nid oes gennyf mo'r amser nac i ddysgu nac i brydyddu, nac i ddim arall; dyma'r holl drysor o hen bregethan Sir y Mwythig agos a darfod; rhaid taro atti hi yn fywiog i weithio rhai newyddion, a phrin y down i ben a chael dwy

bob Sul trwy'r flwyddyn, er gwneuthur fy ngorau. Nid oes yma le i segura; pan gaffo amser i edrych o'i ddeutu, mae Mr. Lewis Morris yn bwgwth gyrru i mi ryw lyfrau, ond ni ddywed pa lyfrau; gobeithio mai Cymraeg loyw a fyddant, o ysgrifeniadau rhyw hen gorph sydd wedi pydru er ys tri chan mlynedd. Yr wyf yn ceisio clytio rhyw fath ar nodau ar Gywydd Bonedd yr Awen; a thrwsio rhyw fân wallau ynddo, fel y gellir ei gael yn barod erbyn dechreu'r hâf. Nid oes yma rith o newydd, ond fod yr Alderman yn dwrdio dyfod i Fôn cyn bo hir; ni's gwn a ddaw i Gybi ai peidio. Mae'r teulu yno ac yma i gyd yn iach, ac i'ch annerch, Byddwch wych. Ydwyf eich ufudd wasanaethwr,

GORONWY OWEN.

## LLYTHYR 21.

### AT MR. R. MORRIS.

WALTON, Ebrill 9, 1754.

NID ydwyf yn ammeu nad ydych bellach yn tybio fy mod wedi marw yn gelain gegoer. Ac yn wir fe fu agos i'r peswch a'r pigin a'm lladd. Nid wyf yn cofio weled erioed gethinach a garwach gauaf: nid yw'r wlad oerllom yma ddim yn dygymmod â mi 'n iawn; llawer clytach Swydd Amwythig. Dyma ddeuddydd o hin wych yn ol yr amser o'r flwyddyn. Nid oes dim yn fy mlino cymaint a darfod i'r pigin brwnt a rhyw drafferthion lestair i mi yrru i chwi Ganiad erbyn Gwyl

Ddewi; ni ddylai un dyn, ac ystyrio mor ansicr yw ein bywyd a'n hiechyd, a'n hamser, yn enwedig y sawl a fo megys Gweinidog tàn arall (fel yr wyf fi) addaw dim yn sicr ac yn ddifeth i neb; oblegyd na's gwyddom o'r naill gwr i'r llall pa beth a ddigwydd i'n rhwystro. Yr oeddwn wedi dechreu Caniad i'r Tywysog ar y mesur a elwir Gwawdodyn Hir, ond ni orphenais onid tri phenill o honi, a bellach yn anorphen y caiff fod dros byth am a wn i. Ni wiw gennyf yrru y darn yna i chwi.

I lately took a fancy to my old acquaintance Anacreon, and as he had some hand in teaching me Greek, I have endeavoured to teach him to talk a little Welsh, and that in metre too, Ode 47, "Hoff, &c." Observe that there is but the very same number of syllables in the Welsh as in the Greek. I think too the Welsh *Englyn Proest* fully answers the scope and meaning of the Ode, and that in an almost verbatim translation. The more I know of the Welsh language, the more I love it; and think in my heart, if we had some men of genius and abilities of my way of thinking, we should have no need to despair of seeing it in as flourishing a condition as any other, ancient or modern. Nid oes yma faint yn y byd o newydd cymmaint a marw gwrâch y caid grôt ar ei hol, er marw yn ddiweddar ryw wmbwrdd o wrachiod. 'Rwyf yn bur anesmwyth eisiau clywed o'r Allt Fadog. Mi yrrais yno ddwy waith ond nid oes dim atteb. Dyma gyd a'm bŷs o lythyr o Gaergybi

yn dywedyd fod pawb yn sionc ym Môn ac yn yr Allt Fadog. Nid gwiw sôn hyd oni lenwir y senedd-dy o'r newydd. Mi a dderbyniais y Testament Arabaeg o'r Allt Fadog yn ddiweddar, a chann diolch i chwi am dano: ni dderbyniais mo'r llyfr Hebraeg a yrrasoch gydag ef. Er na welswn erioed mo'r egwyddor yn Arabaeg, etto, trwy ddyfal astudio y 1af o Fathew, y 3ydd o Luc, &c., mi ddysgais ei ddarllen yn lew iawn; ac nid anhawdd ei ddeall i'r sawl a ddeallo Hebraeg, oblegyd nad oes nemawr o ragoriaeth rhyngddynt, prin cymmaint mewn rhai pethau ag sydd rhwng iaith Gwynedd a iaith yr Hwyntwyr. Cryn gynnorthwy hefyd a gefais drwy y Deng air deddf yn yr Arabaeg ac yn yr Hebraeg yng nghyd, oblegyd y mae y Deg Gorchymyn gennyf yn y Testament, &c.

GORONWY DDU.

## LLYTHYR 22.

### AT MR. RHISIART MORRIS.

Walton, May 18, 1754.

DEAR SIR,

As you are fond of any piece of antiquity, I here sent you one which I look upon to be somewhat curious. The MS. it was copied from was so much defaced, that the title was almost illegible, but what is most to be regretted is that the date of this curious piece of history, as well as poetry, cannot be ascertained. You will please to observe

that where the characters were illegible, I put dots with the pencil ........ and the title runs thus, "Kyggory ........ vab Hywel," and then as follows: "Y bardd a gant yr Awdyl hon yn y Lluyt y Llas vab Hywel." In the margin there was a note in another hand to this purpose, viz. "Eraill a ddywaid mai y Bardd Glas o'r Gadair a'i cant.—Anno Domini 54." But whoever was the author, the piece is of undoubted antiquity, and the want of a date to a poem amongst us antiquarians, you know, is no more than the want of a head to a statue of Venus, or legs and arms to one of Hercules; that is, such a defect does not lessen but greatly enhance the value of either. If every ancient medal was as legible as king George's halfpenny, what room would be left for our learned conjectures? And I doubt not but the date of the present poem will afford matter of profound speculation to our posterity in the faculty for many future generations. Et nati natorum, et qui nascantur ab illis. I cannot find in my Davies's Dictionary in what century either of the above bards flourished; and in vain have I turned over my Caradog of Llancarfan, and my Geoffrey of Monmouth, to find out when the memorable battle therein mentioned was fought. Camden knows nothing of it, and Carte is very far from being precise in point of time. What time Sibli lived, or where, is to me a mystery, and whether that venerable personage were man, woman, or hermaphrodite, would have been as

great a one, but for the poem. But then if this vast treasure of knowledge could have been gained by the reading, I should have been deprived of the pleasure of making the conjecture which I am now going to offer; viz. that this poem was written somewhere within that dark period of time that passed between 600 and 1000. Ha! I smell you out, brother antiquarian, you say I care not * * * if you do about things at that distance. My design, Sir, is as honest as ever entered into any antiquarian pate; and if it does but take effect, I am persuaded it will be of infinite service (benefit) to posterity. *Time* you know, is the grand enemy of our tribe, with whom our predecessors of everlasting memory have waged perpetual (or, to stpeak more poetically, a never discontinued) war. What he hides we endeavour to find; what he would bury in eternal oblivion, we as strenuously perpetuate in the eternal records of fame. The success of this war has always been various; but to the immortal honour of this present age we have gained numberless advantages of the enemy. You know how our army sacked his capital of Herculaneum and (to give merit its due praise) I myself received some glorious wounds in the brains at the battle of Uriconium in Shropshire, when we retook from the enemy three Roman Officers, whom he had kept close prisoners since the time of Claudius Cæsar. Why should we then, after such singular advantages, leave the enemy in quiet possession (of at least)

three centuries and a half? I mean from the time of Merddin Wyllt to that of Merlin Brydydd. My project then is to throw this present poet, like a bomb, into the midst of that wide chasm, and so retake from the enemy at least one whole century. One thing more I have to advise you of, viz. that in the copying I have not scrupulously kept the old orthography, because I thought it would be too puzzling even to an antiquarian. Besides, what modern could remember always to write, *t* for *dd*, *u* for *f*, *ss* for *s*, *gg* for *ng?* &c. I have illustrated it with a few necessary notes out of my own critical head-piece, every now and then putting such a word in the margin, in the original orthography with a "sic legitur in MSS;" and all this to shew my profound knowledge in criticism. I should likewise let the courteous reader know that the measure is the true genuine and real metre used by all the ancients; but it concerns neither him nor me to know how this metre was called the Cynghanedd in the old Braidd Gyfwrdd. In those times it made no great matter whether there was any cynghanedd at all if the number of syllables were right, the words of poetical sound, and the *prifodl* kept inviolable. Braidd Gyfwrdd is this

Arddwyreaf *hael* o *hil* Yago."

Now *hael* and *hil* made a most exquisite and delightful jingle and harmony to primitive ears, Vale et Fruere.

Danghoswch hwn i'r Llew, da chwithau, a gofynwch iddo pa faint gwaeth Cymraeg sydd yn Lloegr heddyw nag oedd yng Nghymru saith gan' mlynedd i heddyw? I'r gwr o'r Dollfa, sef Gwilym Gybi, y mae'r diolch am y patrwm; canys efe a yrrodd yma'n ddiweddar lyfr yn cynhwys 58 o Odlau o waith amryw o'r hen feirdd goreu yn y blynyddoedd 1100, ac oddi yno hyd 1300, a'r llyfr hwnnw a ysgrifenasai yntau â'i law ei hun allan o lyfr Gwernygron: gobeithio na elwir byth am hwnnw adref, ac ni eilw yntau am hwn, oblegyd dyna'r ammod: mae yn addo benthyg ei Delyn Ledr[1] yr haf yma, os byw a fyddwn. Afraid i mi esponio yr Awdl i chwi; chwi ganfyddwch ei thueddiad hi ar y golwg cyntaf. Dywedwch i'r Llew fod fy ngweddi fi yn ddwys, ac yn ddygn o'i du ef ddydd a nôs, a gobeithio mai gwir Brut *Sibli*. Gadewch glywed, er mwyn Duw, yn union deg, ar ol darfod y gad. Yr ydwyf agos a gwirioni, rhwng ofn a gobaith. Am yr Horace, ni gawn siarad am hwnnw pan el y mwstwr heibio. Nid ydwyf yn prisio draen mewn Arabaeg na dim arall weithon, oddigerth y medrwn ddyfod o hyd i fold i wneud arian; felly na phoenwch am Eirlyfr na dim arall ar hyn o dro. Y cebystr i'r byd brwnt yma, a melldith eu mamau i'r Rhufeiniaid cybyddlyd a ddaeth ag arian gyntaf i Frydain. Nid oes yma newydd yn y byd a dâl ei grybwyll. Wyf yr eiddoch yn garedicaf,

Y DU O HIRGAER.

[1] Llyfr Cywyddau, &c. a feddylir wedi ei ysgrifenu ar groen. O. W.

Yr Awdl ganlynol sydd ddilyniad o'r llythyr blaenorol fel y canlyn.

### CYFIEITHIAD O'R AWDL SIBLI.

Celestial powers, give ear! kind heaven assist
While with incessant prayer and plaintive voice,
For Hywel's valiant son I loudly weep:
For Hywel's warlike son, gigantic wight,
With beauty, wasting cares, and fear I pine;
So much the Sibyl's prophecy I dread.
Should I (heroic youth!) her tale reveal,
The heart, with falsehood sooth'd would not believe it:
For lying parasites' pernicious tongues
Full oft abuse thy fond credulity;
Guiltless I might th' unpleasing truth suppress
(Or why should I regard what you regard not?)
Yet shall my tongue prove my sincerity,
And odious truth prefer to murderous lies?
  Then, Hywel's son! avoid the din of war,
Whatever sly deceivers faintly talk,
Tho' they extol thy prowess to the skies,
Vain are these words, and bubbles light as air.
When blood and slaughter glut the wearied sword,
Then shalt thou find too late whose words are true;
Tho' true, my friendly warning you despise,
And listen rather to these baneful words.
"Rouse, doughty champion, mount the fiery steed,
"Rouse, wondrous hero, more than mortal wight,
"Cast down the lion vanquished at thy feet,
"And tread the dragon and the adder down.
"The foes shall feel the puissance of thy might:
"Heaven ne'er decreed that mortal should subdue thee,—
"Invulnerable, scorn the brandished spear
"Securely, for with thee no man can cope;
"Press on, regardless of stern warriors threats
"Mother ne'er bare a son that is thy peer."
  But thus the Sibyl saith (mark well her words),
True are her prophecies, and fixed as fate.

Let not the odious truth provoke thy hatred:
I fain would say no more,—but Oh! I must;
I see a day approaching big with woe,
A day with ruin and with mischief fraught;
When with habergeon crazed and chapfall'n helmet
Thou, unblessed knight, shalt lick the crimson earth,
Thy breathless corse shall be in piteous plight.
(So fate will have it) ere the end of May,
For then a mighty Lion shall arise
With lion's fierceness and with eagle's speed;
Then will he single out for bloody combat,
But thou (unseemly deed) wilt turn to flight,
(Ere Friday night,) or Sibyls read amiss.
Before the curfew sounds thou shalt be slain,
Dishonoured, unlamented, unesteem'd.
Exposed, unpitied shall thy carcase lie:
Thy bones shall press on the Cardigan shore,
And hungry ravens feast on putrid wounds.

## LLYTHYR 23.

### AT MR. WILLIAM MORYS.

WALTON, Mehefin 4, 1754.

YR ANWYL WILYM,

DYMA'ch dau lythyr wedi dyfod, ac un oddiwrth bob un o'r ddeufrawd eraill, a phob un yn unair yn dywedyd yr un newydd cysurus yng nghylch y fuddugoliaeth a gafas y Llew, ie yn wir. Ni choeliech chwi mo Sibli; oni wyddoch chwi (chwedl Joseph gynt wrth ei frodyr) y medr gwr fel myfi ddewiniaeth? Etto er hyn yr oedd Sibli, wrth holi ac ymofyn, wedi cael gwybod o dan din pa ddiwrnod y byddai'r gad, onid nis gallasai (mwy nag Alis y ddewines,) mo'r dywedyd yn bendant, "cyn nos Wener," &c. a "chyn terfyn Mai," &c.

For those things are not, cannot be revealed to modern prophets without their being at the trouble of pumping for 'em, which is an art they have a good knack at. Y cebystr i'r llythyrau, beth mae'r cast. sydd ganddynt o fyned a dyfod yn ngwrthgefn eu gilydd. Doe y cefais eich diweddaf, gan ddigwydd o honof farchogaeth i Gaer Nerpwl cyn gwasanaeth (i edrych am gynhinion i'm teilwriaid,) a galw efo yr Aldramon ar ffrwst wrth fyned heibio. Ac yr wyf yn gyrru hwn yna ar ffwdan, i edrych a gyrraedd yna cyn i'r llall gychwyn. Ni yrrwys yr un o'r ddeufrawd i mi gymmaint ag un ffrencyn, ac ofni yr wyf mai yn eich cost y byddwch am hyn o furgyn. Ni thâl mo'r dimai Werddonig, ac nis meddaf mo'r amser i yrru ei well y tro yma. Er dim a fo gadewch i mi gael benthyg y Delyn Ledr y cyfleustra cyntaf, i gael i mi rygnu ambell gaingc arni, tra bo'r dydd yn hir a'r hin yn deg. Odid na bydd rhyw beth ynddi a wna i mi geisiaw ei ddynwared, neu o'r hyn lleiaf mi bigaf rai geiriau tu ag at helaethu fy Ngeirlyfr, fal yr wyf yn gwneuthur beunydd o'r hen Walchmai, &c., &c. I am exceedingly surprised to see how Dr. Davies has past by abundance of good words without taking any notice of 'em, and that he should put a query to others that are as plain as pikestaff, amgost those are *gwerthefin*. Now what man that has seen or heard the word *gwarthaf* can be at a loss for the meaning of *gwerthefin?* Does not *cyntefin* come from *cyntaf?*

Yes surely, and so does *gwerthefin,* from *gwarthaf.* He has properly enough rendered *gwarthaf* by *vertex, fastigium, summittas;* and so he should have rendered *gwerthefin* by, *summus, supremus,* &c., or in English, *chief, principal, supreme, sovereign,* &c. The like I could observe to you on some dozens of words more. And the sense tells you the same. What is *Brenhin Gwerthefin* (as Hywel fab Owain Gwynedd has it) but *Sovereign King;* and the translators of the Common Prayer Book might with much more propriety have said Ein Grasusaf *Werthefin* Arglwydd Frenhin George, than Grasusaf *ddaionus,* &c. I had made some few remarks on these things in my Davies' Dictionary before I received Gwalchmai, &c., but now shall be enabled to augment them considerably in my Richards' which I've got interleaved and neatly bound in two Vol. for that purpose. My compliment to Mr. Ellis; kindly accept of the same to yourself. Gadewch gael pwt o lythyr gynta' galloch. Wyf eich eiddoch fal yr wyf.

Y BARDD DU.

## LLYTHYR 24.

### AT MR. W. MORRIS.

WALTON, Mehefin, 25, 1754.

YR ANWYL WILYM,

DYMA'R eiddoch o'r 14 o'r presennol wedi dyfod i'm llaw heddyw; garw o gyd y maent yn cadw llythyrau pobl druain naill ai yn Nghaergybi neu

yn Nghaer Nerpwl! Yr achlod iddynt, a diddaned cael gafael ar gwr tipyn o epistol. Bendith Duw a ffyno iwch', am fenthyg y Delyn Ledr; na thybiwch y byddaf mor greulawn anghristnogol a'i chadw yn hir rhag eich nychu o hiraeth. Och fi! onid gwych fyddai cael tipyn ychwaneg o'r Barddoniaeth yna? Ni flinwn i byth bythoedd arno. Ac os gyrrwch yma rai eraill yn gyfan mi a'u copiaf (os mynwch) yn y llyfr gyd a'u brodyr yn y llaw oreu a fedrwyf. Ond dywedwch a ddywetoch, ni wnewch byth i mi hoffi eich car D. ap Gwilym yn fwy na'r hen gyrff. Er hyny i gyd ni ddywedais i erioed (fel yr y'ch yn haeru) fod Gwalchmai wedi gwneuthur i mi ffieiddio ar *Ddeian*; ond ar Gywyddau, pwy bynag a'u gwnelsynt. Anacreon amongst the Greeks, and Ovid amongst the Latins give some people (of particular complexions) the most exquisite pleasure and delight. I don't condemn those people's taste; but give me Homer and Virgil, and in my poor opinion so much does Gwalchmai excel D. ap Gwilym and his class as Homer does Anacreon. But every man to his own taste, I claim no sovereignty over any one's judgement, but would be glad to have the liberty to judge for myself. Dyna ben am hyny. Ai ê, Cymro oedd Emrys Phylib? fe allai mai ê. Ond mi a adwaenwn frawd iddo oedd yn werthwr llyfrau yn Nghroesoswallt, na's mynasai er dim ei gyfri'n Gymro. Pa ddelw bynag, ni wnaeth yr hen Ddeon mo'r llawer o gamwri ag ef. He did but

expose and ridicule the infantine style for fear it should get in vogue as the taste of the age, and that we should have Iliads written in it, which is no more than I would have done, had I lived in D. ap Iemwnt's time, pan gaethiwodd y Braidd Gyfwrdd, ac y dychymygawdd Orchest y Beirdd. I own with you, that the Distress'd Mother (my favourite Tragedy) &c. are in esteem to this day, and that deservedly, and will venture further to say they will continue so while the English Language is esteemed; but as to the preference given him to Pope by Mr. Addison, I can by no means agree with you, that being altogether a genteel sneer and satire upon his pastorals. Can you read Mr. Ph—s' pastorals especially where he quotes a passage with a "How agreeable to nature, &c." without discovering the sneer? For my part, when I compare the passage commended with the commendation, methinks I see before my eyes the wry face and the grin. And if he had pleas'd he might have said as much of Mr. Pope's; for in truth I could heartily wish that neither of them had ever attempted pastoral, their geniuses being much better adapted to greater things. They should have left pastoral to Gentle Gay, who (notwithstanding all his fustian as it is called) is the only Englishman that deserves the name of a pastoral writer. Nid yw yr Hwyntwyr (chwedl chithau) onid hanner Cymry, gan eu bod gan mwyaf, yn hanfodi o had pobl Fflandrys a Normandi, a rhyfedd yw allu o naddynt gadw

maint yn y byd o'r hên iaith, ac o'r achos hwnnw yn bendifaddeu mi fynwn iddynt adael ymgeleddu'r iaith i'r sawl a fedrant yn oreu wneuthur hynny, sef pobl Wynedd; ac os ewyllysiant ddangos eu serch i'r iaith cymerant arnynt ran fawr o'r gost, ond na feiddiant roddi na llaw na throed yn y gwaith, rhag ei ddiwyno â llediaeth ffiaidd. Ettwaith, lle bai'n y Deheudir ddyn a chanddo ddawn (neu a dybiai fod ganddo) ddawn Awenyddiaeth, bid rydd i hwnw (o'm rhan i) ganu ei wala, oblegid odid i ddyn awenyddgar gyfeiliorni'n gywilyddus; a diau fod gwaed Cymroaidd yn drechaf yn mhob un o'r cyfryw, o ethryb mai dawn arbenig ein cenedl ni yw Awen, megys y mae dawn yr eil-drem (i. e. second sight) yn perthyn i fyneich ucheldir yr Alban. Ac oddiwrth y cyffredin hynafiaid, y Derwyddon, yr hanyw pob un o'r ddeuddawn. Y Derwyddon yn ddiddadl, oedd hynafiaid ein cenedl ni, ond pa un a'i hanfod o honom o waed Troia ni's gwn; anhawdd yw genyf goelio hynny, hyd oni welwyf ychwaneg o eglurdeb nag a welais eto. Diau gennyf nad yw'n anrhydedd na pharch i neb hanfod o'r fath wibiaid a chrwydriaid; eto bid i'r gwir gael ei le, ped faem oll yn feibion i Sion Moi, neu Loli Gydau Duon, na ato Duw i ni wadu ein rhieni. But when you say, "Dyweded Camden a fyno, ni buasai'n hynafiaid byth yn dyfeisio'r fath chwedl heb na lliw na llun, &c." I can't forbear smiling (I beg pardon for being so rude,) if we have no better proof of our Trojan

extraction than the bare veracity of our ancestors, I fear we may drop the argument, for I'm afraid, if we say our forefathers neither could or would fib upon occasion, we may be reckon'd very great fibbers ourselves. Yet I can't see what they could propose to themselves by inventing such a thumper, unless it were to ingratiate themselves with the Romans by laying claim to the same common ancestors, and indeed that was temptation enough of conscience. But admitting the story of Brutus to be true, and allowing Geoffrey of Monmouth all the authority of authenticity he can desire and every other advantage, but infallibility, and I care not much if he had that too, yet it were absurd and even ridicilous to imagine the main bulk of our nation to be his descendants. What would you say were I to affirm that the good people of England were all descended from William the Conqueror, or that they are all Hanoverians because his present Majesty is one? Brutus was hero (and was king, if you please) but still he and I are nothing akin.

Oedd, oedd, yr hen Dr. Davies o Fallwyd yn deall yr iaith Gymraeg yn bur dda, heb law llaweroedd o ieithoedd eraill. Ac nid eisiau deall a wnaeth iddo adael allan o'i Eirlyfr gymmaint o eiriau; ond brys a blys ei weled wedi dyfod i ben cyn ei farw. Mae'n ddigon er peri i galon o gallestr wylo'r hidl ddagrau wrth weled fal yr oedd yr hen gorff druan yn cwyno yn ei Ragymadrodd rhag byrred yw hoedl dŷn! ac yn mynegi pa sawl cynnyg

a roesai lawer o wyr dysgedig ar wneuthur Geirlyfr Cymraeg, ond fod Duw wedi tori edau'r einioes cyn i'r un o honynt, oddigerth un, i gael amser i gwblhau ei waith. Ac yntef ei hun yn ennyd fawr o oedran, gwell oedd ganddo yrru ei lyfr i'r byd heb ei gwbl orphen, na'i adael megys erthyl ar ei ol, yn nwylaw rhyw rai, agatfydd, na adawsent byth iddo weled goleu haul. A diamau mai diolchgar y dylem oll fod iddo, a mi yn anad neb, oblegid efe a ddysgodd i mi fy Nghymraeg, neu o'r lleiaf, a'm cadwodd rhag ei cholli yn nhir estron genedl.

Nac ydyw Marwnad Owen Gwynedd o waith Cynddelw ddim yn y llyfr yma, fel y gellwch weled wrth y Fynegai. Nid wyf yn meddwl fod y darn a yrrasoch o honi yma chwaith yn anhawdd ei ddirnad. It is a very pretty passage sure enough, and 'tis a pity if it is imperfect in your book. I'm almost certain that most of these Odes have been corrupted by the ignorance or carelessness of transcribers, which has been the common fate of all authors before the invention of printing, and which at present can no otherwise be remedied than by the comparing of various readings, and fixing on that which carries in it the best sense, and is most agreeable to the context. I read this piece as follows in the modern orthography.

Gwyrdd heli Teifi tewychai;
The green water of Tivi grew thick.
Gwaedlanw gwyr a llyr a'i llenwai;
Being filled with the streaming blood of men.

Gwyach rudd gorfudd goralwai;
The brown Diver[1] called it the greatest happiness.
Ar doniar gwyar gonofiai;
And waded o'er planks of clotted blood.
Gwyddfeirch tòn tòrent yn ertrai;
The wild sea horses were broken at low water.
Gwychr ei naws fel traws a'u treisiai;
The stout hearted (i.e.O.G.) like a tyrant seiz'd or oppress'd'em.
Gwyddfaau Eingl ynghladd a'u trychai;
Heaps of English buried (in the sand) wreck'd 'em.
Gwŷdd-gwn coed collwyd a'u porthai:
The wild dogs of the woods lost their provider.
Gwyddwal dyfnwal dyfnasai fy medd;
The deep thickets were wont (viz.) to find 'em meat.
Fy modd, fy meddiant a gaffai;
And wanted neither my consent or assistance.

If that be not meaning of it, I don't know what it means, or whether it has any meaning at all; as I never had the honour of Mr. Wil y Wawch's acquaintance, I can't tell whether he and *gwyach* be the same or not. Ai rhudd yw lliw. Wil y Wawch? Os ê, mi dybiwn mai yr un peth yw Wil y Wawch a Wil y Wyach, ond ei fod heb ei fedyddiaw yn Wil yn amser Cynddelw. But as to your observation, "nid hwyrach nad am gig y dug yr hen fardd o i mewn, &c." It is very just. It would have given you a very odd idea if he had introduced a parcel of ducks as picking out the eyes of the slain on the field of battle, instead of crows and ravens; but as queer as that would have been, we are very sure that ducks (both wild and tame)

[1] "The bloodstained grebe called aloud for a glut of food; on a swelling wave of gore she swam with toil."

will greedily devour both blood and guts, &c. when they meet with 'em in the water, gobbets of clotted blood, pieces of lights and livers, milts, &c., being our usual way of baiting wild ducks on the River Severn. And why might not Wil Wawch delight in such things as well as they, tho' he should not care to eat raw flesh. Gyrrwch y delyn gynta' galloch, da chwithau, yr wyf ar y drain am ei gweled hi. Dyma fi wedi cael llythyr o Allt Fadawg yn ddiweddar; mae yno bawb yn iach, ond bod y Llew yn drafferthus; mi gaf glywed etto'n fuan. Iê, *llongau* yw *gwyddfeirch tòn*, a *Saison* yw *Eingl;* ond oddiwrth y gair *ongl* am eu bod gynt yn byw mewn *ongl*, i. e. *congl* o'r deyrnas fel y mynnai'r Dr. Davies. The plural *ongl* would be *yngl* or *onglau* as from *corph*, *cyrph*, from *môr*, *myr*, *&c.* But the plural of *Angl* is *Eingl*, as from *arf*, *eirf*, *carr*, *ceir*, *&c.*; and who knows not that they formerly called themselves *Angles*, which in the singular number is *Angle*, or in our orthography *Angl.* Wele Duw a'm helpo, dyma fi yn myn'd i'm rhwymo fy hun i aros yn mysg yr Eingl tra b'wyf byw ysgatfydd. Mae'r Esgob Caer yn dyfod i gadw ei ymolygiad cynthefin yn Nerpwl yr 22 o'r mis yma, sef Gorphenaf, ac yno fe gyst i mi ymddangos a thalu'r mawr-bris am *Leisians*, a da os dihangaf heb gymmeryd dwy, un am y Guradiaeth a'r llall am yr Ysgol. Nid wyf yn amau na wna yr Esgob eithaf cnafeidd-dra â mi, oblegid na all yr un o honynt aros gweled dŷn yn dyfod o'r naill esgobaeth

i'r llall. Ond gwnaed a fyno yr wyf fi'n barod, a saeth (debygaf) gennyf i bob nod, oddigerth nod y bocced lydan hono sŷ wrth ei glôs ef, a saeth i hono hefyd os happia. You make a query whether *fferis* should be written *offeris?* No, say I, for it comes from the Latin word *ferrum, iron* or *steel;* but whether it be an English word or a Welsh one I can't tell; for they have no other name for it in this county or that of Chester but *ferris* or *ferice,* and I have not heard it so call'd in any part of England or Wales but in Anglesey. When I heard 'em here talk of *ferris,* I expected to have heard of *yster brwch* too, but never did. We have here many other words that are familiar to Anglesey folks, but unknown to all the rest of England and Wales, except they are used in the North of England; and I shrewdly suspect they are, and were originally borrow'd of the Scots. *Gonofio* is not to *duck* or *dive,* but the same as *llednofio,* i. e. rhwng *cerdded* a *nofiaw,* to *wade* or *snudge,* oblegid mai gwaith anhawdd yw nofiaw mewn gwaed. I wish with all my heart that the Dictionaries of the *Tri-brawd* should be compared and printed; as for me, I've not had mine long enough to do any wonders with it, yet I've some good words, and some good number of them. If I was a man of fortune, I would with all my heart bestow any labour in preparing Mr. L. Morris's for the press, or any thing else that would contribute to the making it public. But I've not time to do any thing but

preaching, &c. for a livelihood. Wele rhaid cadw noswyl bellach. Byddwch wych, ac annherchwch Mr. Ellis. Wyf yr eiddoch (rhyngoch) yn ddiran,

Y BARDD DU.

O. S. Chwi welwch fy mod wedi bod wythnos gyfan yn disgwyl am y Delyn Ledr, ac etto heb hanes o honi. Mae'n debyg na feiddia'r llongau ddangos eu pigau gan y gwynt uchel yma. Dyma'r Llew wrth ffawd wedi gyrru i mi ddau ffrencyn.

## LLYTHYR 25.

### AT MR. W. MORRIS.

WALTON, Gorphenaf 12, 1754.

Y DIWYD GELFYDDGAR GYDWLADWR,.

DYMA'r Delyn Ledr wedi dyfod i Walton o'r diwedd, mewn cywair odidawg hefyd; diau, er pan fu farw Gwgan fawd newydd, na fedrasai neb arall ei chyweirio fal hyn, namun chwychwi. Wele! Cann hawddammor i Wastrawd y dollfa! Braidd y mae gennyf synwyr i ddiolch am y gymmwynas, gan synu a thysmwyo rhag ei godidoced! Iê, ïe, gwyn eich byd chwi ac eraill, meddaf fi etto, wrthyf fi a'm bath! Mwy yw hyn nag a welais er ymhoed o'r blaen, ond mae'n debyg nad yw draian a welsoch chwi o gywreinwaith ein hynafiaid ardderchog. Mae genyf yma yn fy meddiant fy hun, garp o hen lyfr MS. o Gywyddau a darewais wrtho yn Nghroes Oswallt, ac a yrraf yna i chwi, os nad yw'r Cywyddau genych eisoes.

Chwi gewch daflen o honynt yn gyntaf i edrych a feddwch yr un o honynt ai peidio. Nid oes yn y Delyn Ledr (am a welaf) ond un o honynt, sef Cywydd "Y Llong dan y fantell hir," o waith Robin Ddu. Braidd y medraf fi ddarllen y llaw, gan ei bod hi o'r hen ddull, a spelio hynod o ddrwg. It was written by one that calls himself Edward ab Dafydd in the year 1639. It seems to have been afterwards in the hands of his son who writes himself, not John ab David (or ab Edward) as the old fellow did, but John *Davies*, and his name I find written in 1671 and 1672, but with no additions worth notice. But this I conclude him to have been—a Shropshire Welshman, and indeed his *lledieith* and *bwnglerdra* sufficiently shew it!! Er hynny ammor iddo am ei ewyllys da a'i gariad i'r iaith; er carnbyled oedd ei waith arni. Yr oedd genyf un arall o gymmar i hwn; ond fe aeth hwnnw i law ddrwg, sef y lleidr o deiliwr gan fy mrawd Owen, ac yno y trigodd, a deg i un nad yw bellach gan faned ag us o waith y gwellaif, a'r pen diweddaf o honno yn eirionyn mesur o'r culaf, ac yn barod i'w droi heibio rhag na ddalio un nic yn ychwaneg. Nid ydwyf yn cofio pa bethau oedd yn hwnnw, am nad oeddwn y pryd hynny'n bwrw'n ol y barddoniaeth gorau oll, mwy nag a wnaethai Sion Tomas Tudur y Taeliwr gynt am y Delyn Ledr.

Cymhwysderau'r Cywyddau a adewir allan. Y mae aneirif o Englynion go drwsgl yma a thraw

ar bob congl wâg o'r dalenau. Cywyddau Pabaidd yw y rhan fwyaf o'r Cywyddau, sef i Dduw, i'r Epystyl, i'r Byd, i Anna, &c. Gresyn oedd! Mae canu gwych mewn rhai o naddynt, ond ni ddarllenais i erioed mo'r cwbl. Cywydd y Llwynog yw un o'r rhai gorau a gyfarfum i erioed yn ddiamau. Mae'r hen Edward ab Dafydd, yn dyweyd "Nid oes wybod pwy a'i gwnaeth." Ond y mae'r mab, neu ryw un arall wedi ei dadu o ar Hugh Llwyd, Cynfel, Hugh Llwyd Cynwal, mae'n debyg. Os caf hamdden a chyfleusdra i yrru hwn i chwi megys tamaid prawf, i edrych a fynnoch ddim ychwaneg o'r ffâr sy yma, mi a'i hysgrifenaf ar bapur arall, rhag ofn y gwaethaf. Mae'n debyg fod yn rhy dda gan fy mrawd brydyddiaeth i ddistrywio yr hen lyfr hwnnw, ac os ydyw heb ei ddifrodi, mi fynnaf ei gael cyn diwedd yr hâf. There are more curious old books of our language to be met with in some parts of Shropshire than there are in most parts of Wales, and that plainly shews that the people some generations ago valued themselves upon being *Welsh*, and loved their native country and language. But now those books are not understood, and consequently are not valued. I bought at a Bookseller's Shop at Oswestry, a Drych y Prif Oesoedd (1st edition,) Dadseiniad Meibion y Daran, or a translation of Bishop Jewel's Apology, (by one Morrys Kyffin, o Glasgoed, in the parish of Llansilin, in Shropshire, and formerly a fellow of a College, Oxon.,) into excellent Welsh, and Bp. Davies's *Llythyr at y*

*Cembry*, prefix'd to Salisbury's New Testament in Queen Eliza's time, and Prifannau Sanctaidd, &c., by Dr. Brough, Dean of Gloucester, and translated into very bad Welsh by Rowland Vychan of Caer Gai, and all for 8 pence! The first translation of the New Testament I met with in a certain man's hands in that town, and had in exchange for a silly, simple English book of God's Judgment against Murder, &c. Wrth hynny chwi ellwch weled nad oes nemawr o fri ar ein hen iaith ni yn y wlad honno. Mi gefais yno hefyd Eirlyfr y Dr. Davies, nid llawer gwaeth na newydd am chwe'swllt. Had I, when I lived in Oswestry, been as nice a critic in *valuable old books* as I was in *valuable young women*, I might have furnished myself pretty moderately; but who can put an old head upon young shoulders?

Nid oedd genyf yr amser hwnnw ddim blas ar Gymraeg na phrydyddiaeth, na dealldwriaeth, na chelfyddyd yn y byd ynddynt 'chwaith. Dyma i chwi damaid prawf arall ar iaith odidog y wlad fendigedig yma. Iaith yw hon yn curo holl ieithoedd Twr Babel! Iaith na's deall dyn nac anifail nac adar y coed, ond a enir ac a fegir yn y wlad. 'Tis said of the Chinese that they have in their language some sounds that no European is capable of pronouncing; but I defy the Chinese themselves or any body else, but Lancasterians, to pronounce *bout, thout,* (for bought, thought) *cout, &c.*, according to the genuine Lancasterian pronun-

ciation. The *w* in such words must have it's genuine sound as if it were a Welsh word. Hai, hai, dyma lythyr oddiwrth y Llew Du o Geredigion newydd ddyfod i'm dwylaw, dated at Aberdovey, July 3. Wfft iddo fo! am fod 9 niwrnod yn dyfod hyd yma. Mae Huw Roberts yn haeru y myn ef gael 12 o Gywyddau am ei boen yn llusgo'r Delyn Ledr hyd yma! Fe geiff *un*, ac odid na bydd hwnnw yn ddigon ganddo. Aiê, rhaid talu iddo fo am bob peth a gludo *in specie*? Pa beth pe ceisid ganto gywain llwyth o lancesau hyd yma? Bellach, bellach, chwedl y Barcut, rhaid troi hwn heibio ac ysgrifenu at y Llew i Lundain, ac i gant o fanau eraill. I have added a good number of words to the Glossary, as you'll find. Now my youngest son talks this language as well as any body, but Robert is too much a Salopian to learn it, and very often corrects his brother for using such ugly words as he calls them. When Gronwy says *teawn, coult, keaw, steel*, &c., Robert says, you must not say these naughty words, you should say town, colt, cow, stile, &c. Gronwy could not speak when he came over hither, but Robert could; so the Lancashire Dialect is natural to Gronwy, being the first that he learned; which makes me fear that neither of them will ever learn Welsh to any perfection. Digon yw hyn o *nonsense*, Duw gyd a chwi; annerchwch Mr. Ellis yn garedig. Wyf eich rhwymedig wasanaethwr,

Y Bardd Du o Swydd Gaer Hirfryn.

## LLYTHYR 26.

### AT MR. WILLIAM MORYS.

WALTON, Hydref 16, 1754.

YR ANWYL GYFAILL,

DYMA'R eiddoch o'r 11eg wedi dyfod i'm llaw ddoe, ac yn wir rhaid yw addef fy mod wedi bod yn lled ddiog yn ddiweddar, am na buaswn yn gyrru yna ryw awgrym, i ddangos fy mod yn fyw cyn hyn; ond bellach, dyma fi yn ei rhoi hi ar dô, ac mi orphennaf fy llythyr y foru, oddigerth i'r cywion personiaid yma fy hudo i allan i ganlyn llosgyrnau cŵn, ac i wylltio ceinachod. Maent ar dynnu fy llygaid i ddwywaith bob wythnos o'r lleiaf, a phrin y llyfasaf eu naccau. However, a little exercise does no hurt, and the young gents are very civil. Mi fum yn brysur ynghylch diwedd y Gorphenaf yn parottoi i gyfarfod yr Esgob i geisio ei dadawl ganiattad i bregethu, &c. yr hyn a gefais yn ddigon rhwydd am fy arian; ond ni's gorfu arnaf gymmeryd yr un *licence* am yr ysgol. Ac er pan glywais y newydd o'r Castell Coch, mi fum yn dal wrthi ddygna' y gallwn i barottoi ychydig o bregethau tra bae'r dydd yn hir, fel y gallwn gael y gauaf i brydyddu wrth olau'r tân y nos, fel arferol. Nid gwaith i'w wneuthur wrth ganwyll ddimai yw prydyddu; ac nid mewn undydd unnos yr adeiledir y Castell Coch. Dyma'r Llew wedi gyrru i mi rai defnyddiau tu ag at yr adeilad orchestol honno, ac y mae'n dymuno ei fod

yn agos attaf i gludo *morter*, ond am y rhelyw ei fod yn cwbl ymddiried i gelfyddyd yr adeiladwr. Ië, ïe, ond bychan a ŵyr o fod yr adeiladwr yn rhydd ac yn freinniawg o'r gelfyddyd. How do you translate a free and accepted Mason? Ië, ac yn un o'r penmeistriaid hefyd. Wele, wfft i'r dyn! meddwch, paham hynny? Odid bwngc yn y byd o ddysgeidiaeth y bydd dyn gwaeth erddo, os paid a'i gam-arferu. Fe haeddai'r gelfyddyd glod, pe na bai ddim rhinwedd arni, ond medru cadw cyfrinach; ac fel y dywaid y dysgedig awdwr, Mr. John Locke, am dani, "Pe hyn fai'r holl gyfrinach sydd ynddi, sef nad oes ynddi gyfrinach yn y byd, etto nid camp fach yn y byd yw cadw hynny yn gyfrinach;" ond y peth pennaf a'm hannogodd i 'spïo i'r ddirgel gelfyddyd hon ydoedd fy mod yn llwyr gredu mai caingc ydoedd o gelfyddyd fy hen hynafiaid y Derwyddon gynt, ac nid drwg y dyfelais. Ond dyd! dyd! fe fu agos i mi anghofio pwy, a pha beth ydwyf, am hynny rhaid attal fy llaw; ond f'allai 'ch bod chwi 'ch hun yn un o'r freinniawl frawdoliaeth.

Aiê, mae Elisa Gowper wedi derio dannedd y Monwysion llesgethan? Och o druan! Drwg yw'r byd fod yr Awen cyn brined yn Môn nad ellid gwneuthur i'r carp safnrwth tafod-ddrwg wastrodu. Ond gwir sydd dda, ni thal i ddifetha prydyddiaeth wrtho, oddigerth y ceid rhyw lipryn cynysgaeddol o'r un dawn ag Ellis ei hun, sef yw hynny, nid dawn awenydd, ond dawn ymdafodi, ac ymserthu'n

fustlaidd ddrewedig anaele. Fe debygai ddyn wrth dafod ac araith Elisa mai ar laeth gâst y magasid ef yn nhymysg ag album græcum, ac mai swydd ei dafod, cyn dysgu iddo siarad oedd llyfu t-n-a, ac onide na buasai bosibl iddo oddef blas ac archwaeth budreddi ei ymadroddion ei hun. Mi fum i un waith ynghwmni Elisa yn Llanrwst, er's ynghylch 14 blynedd i rŷwan, yn ymryson prydyddu *extempore,* ac fe ddywed fy mod yn barota bachgen a welsai erioed, ac eto er hyn cyn y diwedd, ni wasanaethai dim oni chai o a lleban arall o Sîr Fôn oedd yn ffrind iddo, fy lainio i; a hyny a wnaethent oni buasai Clochydd Caernarfon oedd gyda mi. Tybio 'rwyf mai prifio yn rhy dôst o rychor iddo a wnaethym yn ei arfau ei hun, sef dychanu a galw enwau drwg ar gân. One would expect that a person so very fond of giving affronts, should be as willing (or at least) to bear them in his turn, but he is not. One would scorn to be the aggressor, but if I'm attacked, I may and must repel force by force; *& se defendo* is a good plea whate'er be the event. That was my case then, and I've many times afterwards blam'd my curiosity for taking notice of such an empty fellow. However send me his Englynion, and I promise you, upon the word of a *Mason,* I'll never answer 'em, unless by a fictitious name, and hardly so. Wel! dyma hi yn 19 o'r mis a'r llythyr yn anorphen. Yr andras i'r milgwn! Ond ar fy ngair, gwych y canodd Gwalchmai i Rodri, ped fai genyf amser mi rown

gais ar eglurhau rhyw faint arno; ond rhaid i mi adael hyny heibio tan y tro nesaf. Gwrda Einion ab Gwalchmai! Dyn glew iawn yn wir, a dyn o Fôn hefyd, debygaf. Na bo byth ddiffyg o'i fath yn Môn rhagllaw. Ond pwy oedd Nest ych Hywel? Nid geneth i Hywel ab Owen Gwynedd, y prydydd, oedd moni, mae'n debyg; e fyddai hyny yn ormod *arachroniasm* debygwn i. But I doubt Dr. Davies's Chronology in his list of Authors is but guess-work for the most part. And supposing any remains of me should have the fortune to be extant 3 or 4 Centuries hence, 'tis as likely I should pe placed at 1705 as at 1755, or perhaps I should face 1795, unless a *Caniad Wyl Ddewi* should ascertain the time. The Dr. generally put some twenty years between father and son; and if the time when my eldest lived should be computed by that rule, he must be a poet at six years before he was born, and some future son of mine (yet unborn and unthought of) would be still a much forwarder youth, and perhaps a cotemporary with his grandfather. But where do I ramble? My sons will never be poets unless I come to live in Wales while they are young, which I see no great likelihood of. My poor Bob Owen is in Anglesey with Twm Sion Twm, of Red Wharf, and has been there since the 1st of September; but what progress he has made in the language I can't learn. If he can once learn it, I will take care he shall not forget it; I expect him home very soon, because

the piece of goods that I have in exchange is a little unmanageable, and therfore must be sent home by the first opportunity. Thomas's son is too great a fighter to live in Lancashire; that mischievous word *taffy* makes his Welsh blood to caper. Oes rhyw ganiad yn myned ym mlaen i ryw Iarll meddwch? Oes, oes; a phan gyntaf y gorphennir chwi a'i cewch. Ni nacceais i mo honnoch o'r Odlau Anacreonaidd; na wnewch mo'r cam â mi; ofni yr wyf mai drwg fu fy nghof y y pryd hynny; ond am Frut Sibli yn Saesoneg, nid wyf yn cofio i chwi erioed ei gofyn gennyf. Ydyw, y mae Offeiriad Walton yn cyweirio croen y delyn ledr bob mynyd o seibiant a gaffo, ond chwi a'i cewch adref cyn pen hir, rhag eich marw o hiraeth. Er mwyn dyn, a gaed fyth afael ar yr hen farcutiaid y soniasoch am danynt gynt? Gwaith Edmwnd Prys, &c. Mi a welais er ystalm o flynyddoedd, pan oeddwn yn Llëyn, holl ymrysonion a gorchestion Edmwnt Prys, a William Cynwal, gan yr hen berson Price o Edeyrn, (Price Pentraeth gynt, a pherson Llanfair, ym Mhwll Gwymbill, neu, Pwll Gwyn-gyll,) yr hwn oedd orŵyr i'r Archdiacon, tho' full unworthy of such an ancestor; but those poems were monstrously mangl'd and mis-spell'd. I suppose they might have been copied by old Price of Edern (or perhaps his father, Price of Celynog,) in his younger years, before he understood Welsh, (and indeed he never understood it well,) and kept for a family piece in

memory of the learned progenitor. Nid hen ddyn dwl oedd yr Archdiacon, ac *ystyried* yr amser yr oedd yn byw ynddo; etto yr wyf yn cyfrif Wm. Cynwal yn well bardd, o ran naturiol anian ac athrylith, ond bod Emwnt yn rhagori mewn dysg. Nid oedd Cynwal druan (ysgolhaig bol clawdd) ond megis yn ymladd â'r dyrnau moelion yn erbyn tarian a llurig—

> "A'r gwanna' ddyn â gwain ddur,
> A dyrr nerth a dwrn Arthur."

chwedl yr hen fardd gynt. E ddigwydd weithiau i natur ei hunan (heb gynnorthwy dysg) wneuthur rhyfeddodau; etto nid yw hynny ond damwain tra anghyffredin: ac er mai prydferthwch dawn Duw yw naturiol athrylith, ac mai perffeithrwydd natur yw dysg, etto dewisach a fyddai (genyf fi) feddu rhan gymhedrol o bob un o'r ddwy, na rhagori hyd yr eithaf yn yr un o'r ddwy yn unig, heb gyfran o'r llall. Mi glywais hen chwedl a ddywedir yn gyffredin ar Ddafydd ab Gwilym—

> "Gwell yw Awen i ganu,
> Na phen doeth na phin du."

Gwir yw am brydydd; ac felly y dywedai y Lladinwyr, "*Poeta nascitur non fit;*" hynny yw, *Prydydd a enir, ond ni's gwneir*: mal pe dywedid, nid ellir prydydd o'r doethaf a'r dysgediccaf tan haul, oni bydd *nerth natur* yn dueddol i hynny, a chwedi ei gynnysgaeddu gan Dduw âg awenydd naturiol yn ei enedigaeth. Os bydd i ddyn synwyr cyffredin, a chyda hynny astudrwydd, parhad ac ewyllysgar-

wch, fe ellir o hono eglwyswr, cyfreithiwr, gwladwr, neu philosophydd; ond pe rhoech yr holl gyfferiau hynny ynghyd, a chant o'r fath, ni wnaech byth hanner prydydd. Nid oes a wna brydydd ond Duw a natur; ni cheisiaf amgen tyst ar hyn na M. T. Cicero; pwy ffraethach areithydd? pwy well a gwyliadwrusach gwladwr? pwy ragorach cyfreith-iwr? pwy ddyfnach a doethach philosophydd? ar air, pwy fwy ei ysfa a'i ddingc a'i awydd i bryd-yddu, ac etto, pwy waeth prydydd? Trwstan o fardd yn ddiammau ydoedd, ac odid ei gymhar, o ŵr o ddysg, oddigerth yr hen Ddr. Davies o Fallwyd. Etto, er argymhennu ac ymresymmu o honof fal hyn, nis mynwn i neb dybio mai afraid i brydydd fod yn ŵr o ddysg; nagê, nid felly y mae chwaith; er na ddichon dysg *wneuthur* prydydd, eto hi a ddichon ei *wellhau*. Cymmerwch ddau frawd o'r un anian, ac o'r un galluoedd o gorph a synwyr, ac o'r un awenyddol dueddiad, a rhowch i'r naill ddysg, a gommeddwch i'r llall, ac yno gwelir y rhagoriaeth. Er na ddichon y saer maen *wneuthur* maint y mymryn o faen mynor, etto fe ddichon ei 'sgythru a'i gaboli, ei lunio a'i ffurfio, a gwneuthur delw brydferth o honnaw, yr hyn ni ddichon byth ei wneuthur o'r grut brâs a'r gwenithfaen.

Huzza! Huzza! mae Mr. Mosson yn ddyn da; Dyma lythyr oddi wrtho yn mynegi fod Dr. Wynne o Ddolgelleu wedi marw yn gelain. Rhaid taflu hwn o'm llaw, a'i yrru i ffordd i gael amser i ysgrifenu i Allt Fadog, ac at yr Iarll, &c. Nid allaf

gymmeryd mo'r amser i ddywedyd dim ychwaneg; ond bendith Dduw i chwi, am roi Mr. Mosson ar waith, ac iddo yntau am ysgrifenu cyn gynted;— it is dated, Beaumaris, 19th instant, and I received it this minute, viz. 22nd. I am, dear Sir, &c.

GORONWY OWEN.

P. S. Let me have from you some Poetry this time, but I must not miss this Post; as it is post day, I hope you'll forgive me. My compliments to Mr. Ellis.

## LLYTHYR 27.

### AT MR. RHISIART MORRIS.

WALTON, November 9th, 1754.

DEAR SIR,

IT is an unspeakable disadvantage to me, no doubt, to live in so remote a corner, ond y peth a fo'n rhan dyn, ni cheiff ceffyl. Gwyn ei fyd a fai yn Nghymru, ni waeth pa gŵr. Ni welaf ddim o'm gwyn ar y Saison mewn gwlad yn y byd, oni ddigwydd i ddyn fod yn ymerodr o gywaeth. As for the *Cymmrodorion* Articles, and if you please to send them hither, I will translate them in the best manner I can; and, (badly) as I want money, shall desire nothing for my trouble. The three Latin prefaces shall likewise be done into English, if you think proper; but I have only that before John Dafydd Rhys's Grammar in my own possession. Dr. Davies's Dictionary I have it is true, but the preface is lost; and as to his Grammar I have it

not. I have no frank, or else I would send you Arwyrain Owain Gwynedd, with notes, and which I think is exceeding beautiful. But no translation possibly can come up to it. 'Rych yn gofyn, paham yr ydwyf yn gadael i'r awen rydu? Rhof a Duw, pe cawn bris gweddol am dani, mi a'i gwerthwn hi. Beth a dâl awen lle bo dyn mewn llymdra a thlodi? A phwy a geiff hamdden i fyfyrio, tra bo o'r naill wasgfa i'r llall mewn blinder ysprydol a chorphorol? The old and true saying "as poor as a poet" is enough to make one forswear it with all its appurtenances. Etto os byw a fyddaf chwi gewch Awdl i'r Tywysog yn ddiffael. Ond pa'r un a fynnwch ai Cywydd ai Awdl ar Arwyrain Owain, neu Frut Sibli? Neu ynte Hir a Thoddaid neu Wawdodyn, neu un arall o'r hwyaf o'r Pedwar mesur a'r hugain, canys ni thal býr ddim. Mi ydwyf eich ufudd ddiolchgar,

GORONWY OWEN.

## LLYTHYR 28.

### AT MR. R. MORRIS

WALTON, November 26, 1754.

GYRRWCH hyn o garp o Gywydd i Mr. Vauhgan o Gors y Gedol, i edrych a fydd gan fwyned a rhoi i ddyn truan ychydig o *ffrancod*; ni fu yma ermoed gymaint o newyn a llymdra am danynt. Ni feddaf un rhag llw drwg, ac ni feddais er ys talm o amser. Dyma'r Cywydd yn canlyn, ond ni

feiddiaf roi dim annerch pendant atto ef uwch ben y Cywydd, rhag gwneuthur hwn yn ddau lythyr. A fyddai yn anhawdd cael lle ar fwrdd llong o ryfel? Oblegyd fe fyddai yn ddewisach genyf i ymladd â'r Ffrancod, a gweddio dros y Saison tra baent yn eu rhegu eu hunain, na byw yn y fangre lom felldigaid yma. Gwyn ei fyd a gai 30 punt yn rhyw gŵr o Gymru! Duw gyda a chwi! Eich rhwymedig wasanaethwr.

GORONWY OWEN.

## LLYTHYR 29.

### AT MR. W. MORRIS.

GAREDICAF SYR,

LLYMA'ch sén o'r 20fed o Dachwedd wedi cyraedd Walton. Y mae hi yn awr yn gryn ennyd er pan yrrais attoch ddiweddaf; ond nid cyhyd ag yr ydych chwi yn haeru, mi a'i profaf. Ni welais i olwg etto ar Sion Dafydd Rhys, ac felly nid gwiw bwrrw bai ar y truan hwnnw am fy llestair i ysgrifennu. Nagê, nagê, prysur iawn a fum yn croesawu dieithriaid. Fe aeth y wraig Elin yn ddwy Elin o fewn y pum wythnos yma; a gwae a gaffo eneth, meddaf fi; ni fu yma ddim gwastadfod ar ddim er pan welwyd ei hwyneb hi; codi ddengwaith yn y nos, a dihuno'r cymmydogion o'u gorphwysfa i'w hedrych, a disgwyl iddi drengu bob pen awr; ac wylofain a nadu o'i phlegyd a fu'r gwaith pennaf yma er pan anwyd hi, hyd o fewn yr wyth-

nos neu naw diwrnod yma, a llawer dychryn ac oer galon o'i hachos hi ddydd a nos. Mi a'i bedyddiais hi fy hun y noswaith y ganwyd hi; ac yr wyf yn gobeithio bellach ei bod, gyd a Duw, wedi gorchfygu'r *convulsion fits*, ac y deil i fyned i'r Eglwys i gael bedydd cyhoedd, yr hyn a geiff, os bydd byw, ddydd gŵyl Domas; oblegyd ni chair dim bedyddio yma ond naill ai ar y Sul ai gŵyl; ac y mae'r Ficar yn addaw o hono ei hun ei bedyddio, a chymmeryd rhan o'm ciniaw; a rhoi i mi alwyn o hen *rum*, i fod yn llawen gyda â'r tad bedydd ac yntau, &c. Dyna hen ŵr gwiw! Y mae Cywydd y Farn, a'r nodau goreu ar a fedrwn wneuthur wedi myned i Allt Fadog, er dydd Mercher diweddaf, i gael barn Llewelyn arno, ac oddi yno yn union i Lundain; ac os bydd y nodau hynny yn boddio, mi arlwyaf Fonedd yr Awen â'r un fath saig. Mi yrrais hefyd ar yr un pryd Briodas-gerdd i'ch nith, Mrs. Elin Morris, i Allt Fadog, yr hon gerdd a yrraswn i chwithau hefyd oni b'ai fod yr amser yn rhy brin weithion. Chwi a'i cewch ysgatfydd ryw dro arall, pan gaffwyf wybod a dâl i'w dangos ai peidio. Gwych yw'r newyddion a glywaf o Allt Fadog, a Llundain, a Chaer Gybi Sant, yn nghylch Iarll Powys. Duw a dalo i'r tribrawd yn dridyblig am eu caredigrwydd, pe na ddigwyddai dim amgen nag wyf fi yn ei ddisgwyl. Gwychach gennyf fi na dim yr anrhydedd a wnaed i mi o'm dewis yn aelod anwiw o Gymdeithas y Cymmrodorion. Oni chaf rent, fe allai y caf fod

naill ai'n Gadeir-fardd neu'n Gyff Clêr i'r Gymdeithas. Nid oes arnaf faint yn y byd o eisiau swmbwl pe cawn lonyddwch ac amser. Yr achlod i Ieuan Brydydd Hir, &c., na chaid gweled rhyw faint o'i waith yntau; dyna'r swmbwl goreu a'm gyrrai y'mlaen. Pa ham i mi'n wastadol ganu pennill mwyn i'm nain, oni chân fy nain i minnau? Ond tawant hwy os mynnant, ni thau mo'm safn i hyd oni b'o arnaf ddiffyg testyn, yr hyn ni ddigwydd y rhawg etto, oni ddaw rhyw droiad chwith ar fyd.

I'm under no manner of concern about my works; it is equal to me whether they are printed and continue as I wrote them for 80 or 100 years longer or not, let 'em take their chance, and shift for themselves, and share the common fate of all sublunary things. If I have not a better immortality than they can procure me, I had even as good have none. Yet they (amongst others) may help to preserve our language to posterity, and so far, and no further, a wise man and a lover of his country ought to regard them. Y mae'n rèsynol (chwedl chwithau) weled mor ddigydwybod y mae poblach yn llurginio ac yn sychmurnio Gwaith yr hên D. ap Gwilym druan. Let every body say what they please, I can hardly forbear thinking that the *tyg* is right and genuine. I take *tyg* to be nothing else but the masculine number of *teg*. And the analogy it bears to other words of the same sort seems to me to be a sufficient ground for this opinion. Does not the maculine *hysp* make *hesp*

in the feminine gender. So *sych, sech; gwlyb, gwleb; gwyn, gwen; tyn, ten; llyfn, llefn; &c.;* and why not *tyg, teg,* tho' the former be now dis-us'd? To these may be added, *gwyrdd, brych, crych,* and innumerable more. Neither do I make any doubt but that D. ap Gwilym or Gr. Gryg could have heard one say *merch weck,* or *gafr wellt,* without any offence to their ears, tho' these feminines are now no more us'd than the masculine *tyg.* What do you imagine gave a little island, or rather rock, not far from your own Holy Head, the denomination of *Ynys Wellt?* What, because it was a *straw island,* or abounded in *straw?* Nothing more unlikely. Was it not rather because it was a barren and *wild island?* What if we do not understand some words in our age? must we therefore banish 'em from the works of those that did understand them? and foist others out of our own noddles in their room? It is cruel. I wish people were once so far in their right minds as to think they could not mend D. ap Gwilym's works, then they could certainly never maim them. D. ap Gwilym, it is true, had his foibles as well as other mortals, he was extravagantly fond of filching an English word now and then, and inserting them in his works, which makes me wonder what should induce the judicious Dr. Davies to pitch upon him as the standard of pure Welsh; whereas he (of all others of that age) seems least deserving of that honour. I know that babbler, Theophilus Evans,

author of Drych y Prif Oesoedd, pretends to say that Davy understood never a word of English; but the way he goes about to prove his barefaced assertion is a sufficient confutation of it, and enough to make the bold assertor ridiculous to boot. How many English words are there to be met with in those fragments of his only that are quoted by Dr. Davies? *Mwtlai* is one of 'em, and what is that else but the English *motley?* Is *lifrai* a pure Welsh word? And what can you make of *habrisiwn*, *mên*, a *thremble*, and a great many more? I think *livery*, *habergeon*, *mean* and *trebble* are but indifferent Welsh for *purity*. But all that notwithstanding, I think it would be a notable piece of service to our language to have his works printed, tho' it would give the pleasure they have long wanted, I mean, of making it appear that we borrowed as many words, at least from them, as they did from us, which yet would be true of no body else.

Digon yw hyn yn nghylch Dafydd; ond ni ddarfu mi â chwychwi etto. Yn rhodd, a fyddwch cyn fwyned yn y nesaf a gadael i mi wybod, pa newydd anghysurus a glywsoch o Gaer Nerpwl, oblegid ni chlywais i ddim rhyfedd sydd nes atti: gwir yw, ni's bum yno er ys ennyd; ond odid i ddim a dalo i sôn am dano ddigwydd yno na chlywyf mewn amser; ac am eich gweddi, Duw o'i drugaredd a ystyrio wrth ein gwendidau, yr wyf fi yn dywedyd Amen o ewyllys fy nghalon, er na's gwn ar ba achos yr ystwythwyd y weddi. * * * * * * *

Annherchwch bawb a ofyno am danaf, ac mae'n debyg mai nad anhawdd. Duw gyda chwi, a chann diolch am bob cymmwynas. Wyf eich ufuddaf, wir ddiolchgar a rhwymedig wasanaethwr,

GRONWY OWEN.

P. S. Llyma Wyddel wedi myned i Hirgaer, i garchar, am briodi dwy wraig o fewn llai na dwy filldir at eu gilydd. Mae'n debyg y caiff ymystyn, ac ni haeddai amgen, am fod mor ryfygus a chynyg gwasanaethu dwy, lle y mae digonedd o rai eraill yn methu boddloni un yn iawn. Byddwch wych etto. Duw gyda chwi a'r eiddoch. Gyrrwch lythyr gyda'r Post nesaf, da chwithau.

## LLYTHYR 30.

### AT MR. W. MORRIS.

WALTON, December 2, 1754.

DEAR SIR,

YOUR favour of the 21st I received by Mr. Mosson, whom I had the pleasure to see at Walton, if it could be a pleasure to see a person where you can't pretend to give him a suitable entertainment. As to your Vaughans, and they might, upon a pinch, take up with a dish of *Cywyddau,* or any other literary collation, and think it no disagreeable repast for the time; but I am not qualified to draw a bill of fare for an English palate. It was on last Wednesday I saw Mr. Mosson, and he told me he should not set out from Liverpool before Sunday,

sure, he could not have been better, but worse without Masonry. But don't think I intend this as an apology for the craft. No, no, as it is a mystery it can't be apologized for to those that are strangers to it, and to those who know it, it needs no apology. A dyna ben am hyny o ymgommio.

Ffei o honaw! Ni thal Elisa Gowper i ganu iddo, ac onid ê, pa ddelw bynnag, moeswch yma'r Englynion. Ie, sach gwlan ydyw Elis yn ddiamau; nid oes dim a eill gyrraedd ei groen ef oddigerth haiarn poeth.

Ni waeth amcan merch i bwy Hywel oedd Nest, 'rwy'n tybied nad oedd gan Hywel ab Owen Fardd ddim plant ond bastardiaid fel fo ei hun, oblegyd nad oedd ond iefanc pan ga'dd ei ladd gan ei frawd Dafydd. Ond rhyfedd i Hywel, ac yntau yn fab i Wyddeles, fod cystal bardd. Ni chlybum ermoed sôn am ddim o waith Dafydd ab Owain Gwynedd, er ei fod yn Gymro cynhwynol o dad a mam. Diddan o gorphyn ýdoedd Hywel druan, yr achlod i Ddafydd ei ladd! Yr wyf fi yn lled ammau y byddai Hywel ambell waith mewn Awdyl yn taro i mewn air neu ddau o iaith ei fam, ac mai dyma'r achos fod ei iaith o'n dywyllach na iaith y beirdd eraill, er ei fod yn dra aml yn byw yn nghanol Môn. But to this you put a quære, beth arall ond Gwyddeleg yw *asswsiwn, &c.* But perhaps the transcribers wrong him; but then how come they to do justice to Taliesin, Llywarch Hen, and others, long before his time? However if our

language was not copious enough of itself, Hywel had the best right of any to enrich it, being a very good poet, and well versed in the British language, and another considerable branch of the same stock, viz. the Irish. And borrowing from the Irish is in a manner no more than *holl Tir o ddadanudd.*[1] It is, in reality, but reviving and recalling a British word, that had grown obsolete, into use again. And that surely is much more natural than borrowing from any exotic language that is not of the same original, as we now too frequently do of the English, French, &c.

Na ddo, ni ddaeth Bob Owen i'r cyrrau yma etto, am a wn i; Duw o'r nef a'i dycco yn ddihangol, mae fy nghalon yn gofidio drosto bob munud, gan arwed yr hin, i'r mordwywr bychan. Fe fu gefnder i mi yma'n ddiweddar o Barth a Mynydd Bodafon, ac yn ol yr hanes a ge's gan hwnnw, nid yw Bob gyffelyb i wneuthur Cymraeg

[1] "Holl Tir o ddadanudd."--We can not vouch for the correctness of this phrase, which is an apparent quotation, owing to the illegibility of the manuscript from which we copy. *Dadanudd*--(dad-an-huddo, *huddo* being cognate with *hide, hood*) would physically mean a disclosure, discovery or uncovering: metaphysically an investigation of right or title according to the laws of Hywel Dda. We are inclined to think "*enill tir o ddadanhudd,*" to be the original.—i.e. *the gaining of additional land by cultivation or the process of clearing it*, a metaphor by no means inapp opriate to the restoration of a British word from the Irish, as implied in the context.

EDITOR.

Môn fawr brinach er a ddycco yma o honi. He tells me they are very fond of learning *English* of *him, &c.*; so never trouble their heads about teaching him *Welsh*. He said he would take him home with him for a week or a fortnight to my aunt's Agnes Gronw; if so, I'm sure he will be very much made of, and shall have plenty of Welsh, while he has time to stay. God send him a fair wind, and good passage. I don't care how soon I see my little baby. Er mwyn dyn, gadewch gael ystori y *Maen gyd a'r efengyl* yn gyfan o'i phen. Mae'n debyg mai ci brathog oedd y ci, a'r Monach yn rhoi prawf ar wyrthiau'r efengyl i'w wastrodedd o. Ond pwy oedd y dyn a feddyliodd am wyrthiau'r maen?

Garddwriaeth meddwch yw'r *genuine excercise;* f'allai mai ê. Gwyn eich byd chwi sy'n perchen gardd; nid oes genyf fi ddim o'r gwaith hwnw i'w wneuthur yma ysywaeth! Ond ni chlywais i sôn fod Selyf yn ymhel â rhaw bâl erioed, ac os gorfu Adda ryforio, nid oes genyf nemawr o gŵyn iddo, —ei fai ei hun oedd.

Ai ê? prinion iawn ydyw'r ffrancod yna? Garw o'r newyn am danynt sydd yma hefyd. Mi yrrais ryw fath ar negeseuwr llesg i Lundain i ymofyn am rai yn ddiweddar; mi a'i gyrrais â chwedl parod ganddo, ac a erchais iddo ddywedyd ei neges fel hyn.[1] Och fi! Pa fodd yr aeth Llanrhaiadr nesaf i Ddinbych heibio heb wybod i neb? Y rhent oreu yn Esgobawt Bangor. Dyma'r Aldramon yn

[1] Gwel tu dal. 45.

d'wedyd ei bod yn ddigon o hyd yn wâg, a bod Mr. J. Ellis o Fangor wedi ei gwrthod hi. Mae hi yn 150 per annum medd o. Gwych a fasai gael gafael arni hi.—"Pa'r sut y disgwyliwch gael Odlau (meddwch) tra bo'ch i'm naca o Gywydd?" Wele, dyma Gywydd i chwi o ryw fath, ac os ysgrifenwch yma'n *brysur*, chwi a gewch Awdyl. Pa beth a fynnech gael? A'i tybaid y gyrr y gŵr o'r Gors rai ffrancod i mi? Dyma fi yn myn'd i ddechreu Cywydd y Castell Coch; e fydd hwnw'n barod cyn y Nadolig, os byddaf byw ac iach.

Iê, dywedyd y mae Gwalchmai, na welir neb yn debyg i Fadawg ab Meredydd yn y byd hwn, hyd oni ddel Cynan a Chadwaladr yn fyw drachefn, h.y. hyd ddydd brawd, and that (with regard to the qualities he commends him for) is, to all intents and purposes *never*. Pray give your opinion of what I say of Hywel ab Owen and his language.—Dyma fi yn ymroi i yrru hwn gyda'r post; rhowch chwithau'r gost ar gefn *Glyw Prydain*, os oes modd, y mae'n ddigon abl i dalu. Ai ê, prydyddiaeth esmwyth a chwennychai Mr. Ellis? As much as to say my numbers don't glide smoothly enough. Os ynteu y peth a all *plentyn* ei amgyffred sydd esmwyth, gwell i mi wneuthur ambell Ddyri, ond gan gofio, onid yw *Llyfr y Vicar* a'r *Cerdd-lyfr* yn ddigon helaeth yn eich plith? Etto ni ddeall plentyn deuddeg oed un penill o ddim hyd yn un o'r ddau. That is talking to no purpose, I never wrote any thing (designedly) for children, no, nor fools,

nor old women, and while my brains are sound, never shall. Gwaed llosgwrn y gath! Ai nid oes gan fardd ddim i'w wneuthur ond clytio mân Ddyrïau duwiol i hoglanciau a llancesi i'w dysgu, i ysgafnhau baich yr Offeiriaid? A phe bai un gan ffoled a gwneuthur hynny, odid y ceid gan y *llanciau tywod*, a'r *merched nyddu* fod mor fwyn a chymmeryd y rheiny yn gyfnewid, yn lle eu hen ddyrïau anwylion a ddysgasent er's llawer blwyddyn, sef, "A'i hela hi a'i thynu, a'i dyblu hi a'i dodi," &c., a "Hai lw lian faban fab, yr ydwy'n feichiog fawr ar fab,' &c. Whatever I wrote was design'd for *men*, and for men of *sense* and *ingenuity*, such as love their country and language, and can relish pithy and nervous Welsh. As for those squeamish stomachs that can digest nothing without English sauce, I would direct them to Wil Goch y *Sign*, or Evan Ellis, where, for the value of a single penny, they may be supplied with the *gibberish á la mode* of the best and most eminent rhyme jaggers of the age. As to my preferring hard works to market Welsh, you must know, Sir, that there is a *design* in it, and a deep one too. And if you'll but speak me fair, I will let you into the plot. You know, Sir, if there was a man that had a poetical genius, and would ever so fain learn good Welsh, and use significant words, it is but a very dry study to turn over the leaves of a Dictionary to hunt for 'em, and I question whether Elisa Gowper could afford time to do it, or if he

could, whether *he* or one out of a hundred besides, has ever a Dictionary. But give him *Cywydd y Farn*, or any other of mine, and he'll be tempted to read it, if it were but in order to criticize, and in reading, his sense (if he has any) will tell him the meaning of the difficult words, or (if he has none) the notes will, and so those words will be riveted in his memory. And then, when he understands them, he'll take a pride in using 'em in a Dyri, from thence he'll chop 'em out (every now and then) in common speech, and then write them, and so they'll insensibly, creep into the knowledge of others, and so stand a fair chance of becoming common in a century or two, or perhaps sooner, and then we shall shortly have good Welsh, if not good poetry. This is far from being unlikely, for as mine is the work of a *modern*, none will think it impossible to imitate it. I am Sir, &c., Farewell,

GORONWY OWEN.

## LLYTHYR 31.

### AT MR. W. MORRIS.

WALTON, Rhagfyr 17, 1755.

YR ANWYL GYDWLADWR,

LLYMA'ch caredig lythyr o'r 17 o Dachwedd, neu'n hytrach o'r 8 o Ragfyr, wedi dyfod i'm dwylaw ar y 12fed o'r mis presenol. Fe fu yn ddrwg anaele genyf na allaswn yrru y Cywyddau a'r nodau arnynt attoch yn gynt, ond bod achos da i'm rhwystro, yr hwn na feddyliaswn o'r blaen

ddim am dano. Yr ydwyf yn cofio grybwyll o honof gynt wrthych nad oedd ysgrifenu nodau ar y ddau Gywydd amgen na gwaith dwyawr neu dair o amser. Ond Duw yn fy rhan, camgyfrif o'r mwyaf oedd hynny. Nid gwaith dwy awr neu dair o oriau oedd darllen Homer a Virgil drostynt, a hynny a orfu arnaf wneuthur, heb fod mor llawer gwell er y gwaith. Ni choelia'ch calon byth leied oedd yno i'w gael tu ag at nodau na dim arall. Meddwl yr oeddwn nad oedd neb a ddichon ysgrifennu dim mewn prydyddiaeth, na cheid rhyw gyffelybiaeth iddo yn y ddau fardd godidog hynny; ac felly yr oeddwn yn disgwyl cael rhyw fyrdd o debygleoedd o honynt, yn enwedig o Homer, i addurno fy mhapyryn: ond Och fi! erbyn rhoi tro neu ddau yn mysg penaethiaid y Groegiaid beilchion, a chlywed yr ymddiddanion oedd arferedig gan amlaf yn mysg y rhai campusaf o honynt, hyd yn oed ποδασ ωκυσ ei hun ac Agamemnon ac Ulysses a llawer arwr milwraidd arall, mi ddehallais yn y man nad oedd un o honynt yn meddwl unwaith am ddim o'r fath a Dydd y farn, ac felly ni wnai dim ar a ddywedent harddwch yn y byd i'm Cywydd i; ac am a welais nid oedd Hector focsachus ynte, a blaenoriaid a phendefigion Troia fawr, ddim gwell. *Pius Æneas* yntau, er maint o glod a ro'i Virgil iddo am ei dduwiolder, ni choeliaf nad y gwaethaf oedd o genedl Troia, wrth ei waith yn dianc oddi yno'n lladronaidd heb wybod i'w wraig, ar hyder (mae'n debyg) taro wrth rhyw globen arall i'w

ganlyn. A pheth am y cast a wnaeth y diffeithiwr dauwynebog â Dido druan? Ai gwiw disgwyl ynte i'r ffalsiwr hwnnw feddwl am *Ddydd y Farn*? Ond o ddifrif, nid rhyfedd, oblegyd pan oeddwn yn gwneuthur y Cywyddau, ni's gwn edrych o honof unwaith ar Homer na Virgil, ond y ddau Destament yn fynych.

Daccw Gywydd y Farn fel y mae (a nodau arno goreu a fedrais i eu casglu) wedi myned i'r Allt Fadog, i edrych beth a dalo, ac oddi yno fe ddaw attoch chwithau i Lundain o nerth y carnau, os caiff gynhwysiad o dan law Llewelyn, ac onid e ni wiw mo'i ddisgwyl. Ac os bydd hwnnw yn boddio, fe gaiff Bonedd yr Awen yntau ei arlwyo yn yr un modd, a'i yrru i chwi allan o law. Os rhaid dywedyd y gwir, chwi a gawsech y ddau yn llawer cynt, oni buasai i Mr. Vaughan o Gors y Gedol, yr hwn, pan oedd yma yn nechreu mis Medi, a ddywaid wrthyf, (drwy ofyn o honof iddo,) nad gweddus i mi ysgrifennu nodau ar fy ngwaith fy hun, a hynny a rwystrodd beth arnaf; ond yn ddiweddar, sef yn nghylch chwech wythnos a aeth heibio, 'roedd arnaf ddigon o rwystr arall gartref. O fewn pum wythnos neu chwech yma, fe ddigwyddodd i'r wraig Elin rywiog oleu, syrthio yn ddwy Elin, a byd anghysurus iawn, a llawer o ddychryn a thrwm galon ddydd a nôs a gawsom oblegyd yr Elin ieuanc, (er bod ei mam, i Dduw y bo'r diolch, yn swrn iach,) tros hir amser, am ei bod yn dra chwannog i'r llesmeiriau; ond go-

beithio yr y'm ei bod o'r diwedd (gyda Duw) wedi eu gorchfygu hwynt. Yr oedd ein dychryn ni o'r achos yn fwy fwy fyth, am na welsom wrth fagu y lleill ddim o'r fath beth erioed; canys llanciau cryfion, iachus, oedd pob un o'r ddau fachgen (i Dduw y bo'r mawl) ac ydynt etto. Dyma i chwi y rhan fwyaf o achos fy annibendod; ac oni thycia hyn yna, ni thycia dim.

Gwych yw'r newydd a glywaf gennych yn nghylch Iarll Powys: Duw a dalo yn gan-plyg i chwi oll drosof; nid oes dim a ofyno Iarll gan Esgob, na nemawr undyn arall, na chaiff yn rhwydd, a gresyn ofyn o honno ryw wael-beth. Pa beth debygech chwi? Mae fy meddwl i wedi troi yn rhyfeddaf peth a fu erioed. Cannwaith y dymunais fyned i Fôn i fyw, ond weithon (er na ewyllysiwn ddim gwaeth i'm gwlad nag i'm cyd-wladwyr) ni fynnwn er dim fyned iddi byth, ond ar fy nhro, a gwell a fyddai genyf fyw yn mysg cythreuliaid Ceredigion gyda Llewelyn, er gwaethed eu moesau, nag yn Môn. Ond a fynno Duw a fydd.

Nid yw awyr y wlad yma ddim yn dygymmod â'r Awen cystal ag awyr gwlad Amwythig; etto hi wasanaetha 'r wyf yn deall, canys mi fu'm yn ddiweddar yn profi peth ar yr hen Awen i edrych a oedd hi wedi rhydu ai peidio. Mi gefais ganddi ryw sut, rygnu i mi ryw lun ar Briodasgerdd i'ch nith, Mrs. Elin Morris, yr hon a yrrais i'r Allt Fadog gyda Chywydd y Farn. Tra phrysur wyf

yr wythnos yma yn darparu pregethau erbyn y Nadolig, ac heblaw hynny yr wyf am fyned â'r ferch i'r Eglwys i'w bedyddio yn gyhoedd Ddydd Gwyl Domas, ac onid ê chwi a gawsech y Briodasgerdd y tro yma, ond chwi a'i cewch y tro nesaf yn ddisiomiant. Ydd wyf yn disgwyl clywed o'r Allt Fadog cyn y bo hir, ac yno mi gaf wybod a dâl y Briodasgerdd i'w dangos ai peidio. Nid ydwyf yn ammau na bydd Cywydd y Farn gyda chwi o flaen hwn, os tybia Llewelyn y tâl ei yrru. Pendrist iawn ydwyf yn y fan yma o eisiau llyfrau. Fe orfu arnaf brynu Homer a benthyca Virgil i gasglu nodau.

GORONWY DDU O FON.

Pa beth a ddywedwch am aelod anghyttrig? for corresponding member?

---

## LLYTHYR 32.

### AT MR. W. MORRIS.

**Gyda Phriodasgerdd Ellin Morris.**

I beg you would write as soon as you can, and in answer you will have Awdl y Gymdeithas ar y 24 Mesur. Pray answer my queries, about Taliesin, Elphin, &c. You see how ignorant I am with regard to our Welsh antiquities and writers. How could I be otherwise? seeing I never saw any of Welsh MSS. Fe gai enaid rhyw ddyn a yrai i mi fenthyg un neu ddau o honynt. * * * * * * *

Nis gwn i pe bawn am fy hoedl, pa fodd y

gwnaethum fath yn y byd o brydyddiaeth, a minnau heb wybod na gweled gan lleied o'r fath beth. Cymmaint ag oedd o'm tu oedd fy mod yn medru yr iaith yn dda, a chenyf dipyn o ryw duedd naturiol at y fath bethau, ac er hynny i gyd rwy'n meddwl nad yw y peth yn ddim llai na rhyfeddod. Byddwch wych. Mae arnaf agos gywilydd gweled yr Awdl wirion-ffol yma, ac mi amcenais beidio ei gyrru. Da chwithau na ddanghoswch mo honi i neb.

You ask me whether I have seen Cyfraith Hywel Dda, of Dr. Wotton, and Moses Williams's edition or translation. Na welais i ddim erioed o'r fath beth, na dim arall yn Gymraeg a dalai ddim ond y Bibl a'r Bardd Cwsg. Gwyn eich byd chwi ac eraill sy'n cael gweled eich gwala o hen MSS. &c. Rhof a Duw cedwch yr hen MSS. un dydd a blwyddyn, ac yna ond odid nad ellwch hepgor y copi i ddiddanu Goronwy Ddu druan na welodd e erioed y fath beth.

Da chwithau byddwch gan fwyned a gyrru i mi weithiau ambell Glogyrnach llithrig, nen ryw hen fesur mwyn arall o waith Gwalchmai, Cynddelw, Prydydd y Moch, neu'r cyffelyb; ac nid yw ludded mawr yn y byd i daro un (o'r lleiaf) yn mhob llythyr. Dymunaf arnoch, os medrwch yrru i mi ryw faint o hanes Taliesin; pa beth ydoedd ef, ac yn enwedig, pwy ydoedd Elphin, yr hwn y mae son am dano gan fynyched. Pwy hefyd oedd fy nghâr Goronwy Ddu o Fôn? ai yr

un yw a Goronwy Ddu ab Tudur ab Heilyn, ac os nid ê, pa'r un o honynt oedd piau Breuddwyd Goronwy?

Nodau ar y Briodasgerdd uchod. "Llemynt," &c. alluding to the old custom of dancing a Morris-dance at a wedding. "O bot llawn," &c., the common health on these occasions is luck and a lad. "A fedro rhoed drwy fodrwy," &c. Mae yn debyg y gwyddoch hynny o gast, a pha ddefnydd a wneir o'r deisen a dynner drwy y fodrwy. "Y nôs wrth daflu'r hosan," mae'n gyffelyb y gwyddoch hyn hefyd; ond rhag nas gwyddoch, fel hyn y mae trin y dreth; sef pan ddel y nôs, y briodas-ferch a â i'w gwely, a chryn gant o fenywiaid gyd a'i chynffon yn esgus llawforwynion i'w helpu i ymddïosg; a phan dyno ei hosan hi a'i teifl dros ei hysgwydd, ac ar bwy bynag y disgyno, honno a gaiff ŵr gyntaf. Probatum est etto. Dyna'r ffordd yn Lloegr; ni wn i a ydyw yr un ffordd yn Nghymru ai peidio, ac nis gwaeth genyf.

GORONWY DDU.

## LLYTHYR 33.

### AT MR. WILLIAM MORYS.

**WALTON, Super Montem, Jan. 1st, 1755.**

DEAR SIR,

MI dderbyniais yr eiddoch o'r 4ydd, ond, Duw a'm cysuro: digon prin y medrwn ei ddarllen gan glafed oeddwn. I Dduw y b'or diolch, dyma fi ar fy nhraed unwaith etto, ond yn ddigon egwan a

llesg, e wyr Duw. Yr oeddwn ar y 10fed wedi myned i Crosby i edrych am f'anwyl gyfaill a'm cydwladwr, a'm cyfenw Mr. Edward Owen, offeiriad y lle, ac yno yr arhosais y noson honno, yn fawr fy nghroesaw yn nhŷ Mr. Malsall, patron fy nghyfaill, ac aethym i'm gwely yn iach lawen gyda Mr. Owen, ond cyn y bore, yr oeddwn yn drymglaf o ffefer, ond tybio'r oeddwn mai'r *acsus* ydoedd; ac felly, ymaith a mi adref dranoeth, a digon o waith a gefais i drigo ar gefn fy ngheffyl. A dydd Sul fe ddaeth Mr. Owens yma, o hono ei hun, i bregethu drosof, ac a yrrodd yn union i gyrchu'r Dr. Robinson, a Mr. Gerard yr Apothecary ataf, a thrwy help Duw fe ffynnodd ganddynt fedru gwastrodedd ac ymlid y cryd a'r pigyn, ond y mae'r peswch yn glynu yma eto. Mi wylais lawer hidl ddeigryn hallt wrth feddwl am fy Robin fychan sydd yn Môn. Ond beth a dal wylo! gwell cadw fy nagrau i beth angenrheidiach. A body and mind harass'd and worn out with cares and afflictions can't hold out any long while. Gwnaed Duw a fynno. Ni bum yn glaf Galan ermoed o'r blaen, am hyny, mi wnaethym ryw fath ar Gywydd i hwn, sef y Calan o'r O. S., Ionawr 12fed.[1]

Tân a'm twymno, onid digrif o gorphyn yw Elisa Gowper. Mae'n sicr genyf ped fuasai'r hychgrug arnaf, yn lle'r cryd poeth, na buasai raid i mi wrth amgen meddyginiaeth nag Englynion Elis. Dyn glew iawn yw Dafydd Sion Dafydd

[1] Gwel tu dal 62.

o Drefriw, ond ei fod yn brin o wybodaeth; mi welaf nas gŵyr amcan daiar pa beth yw Toddaid, oblegid ei fod yn galw y Gadwyn hannerog yn ei Englynion yn Doddaid. 'Rwy'n dyall wrth Elisa ei fod wedi canu o'r blaen, ac wedi cael rhyw atteb gan y Côch, neu ryw un arall drosto. Mawr nad ellid cael golwg ar y cyfan. Dyma'r Englynion diniweidiaf a wnaeth Elisa erioed o'r blaen: rhyfedd fedru o hono gymmeryd y fath ortho. 'Roeddwn yn disgwyl gweled rhyw eiriau ceg-ddu, megis "Hen hwr gwthwr gast," fel y byddai'n arfer gyrru at fab clochydd o Landyfrydog. Brwnt a fyddai canu yn hyll i Elis, ag yntau ei hun mor dda ei foes a'i araith. Mae fel y dyfeisiech ryw ffordd ddirgel i yrru hyn o Englynion i Elisa: 'rwy'n tybio mai y ffordd oreu fyddai eu rhoi i ryw faledwr i'w hargraffu, ac yno fe'u cyhoeddid yn y man, heb wybod o ba le y daethant, a gwych a fyddai gan Wil Goch y *Sign*, neu Evan Elis eu caffael. Bid y Rhagymadrodd fal hyn:—Atteb, annerch, a chyngor y Bardd Coch o Fôn i Elisa Gowper, pastynfardd, Llanrwst, yn cynnwys athrawiaeth arbennig i ganu'n dincerddiawl gymmeradwy, yn ol rheol ac arfer y Gofeirdd godidoccaf o'r oes; yn nghyd a thaflen o enwau yr holl drecc, cêr, offer, a pheiriannau angenrheidiol i'r gelfyddyd, na cheir mo'r fath mewn un Grammadeg a argraphwyd erioed; a'r cwbl wedi ei ddychymmygu a'i gyfansoddi mewn modd eglur, hawdd ei amgyffred gan y gwanaf ei ddysg a'i ddeall.[1]

[1] Gwel tu dal. 114.

Wela, dyna'r Englynion, byddwch chwithau sicr o'u gyrru iddo, ond ymgroeswch yn gadarn rhag son am fy enw i, oblegid fe fydd Elis allan o faes merion ei gôf, ac mi a'i gwrantaf fe gân yn fustlaidd i rywun, ac yno fe fydd agos i ddigon o ddrwg, ond goreu po mwyaf o'r fath ddrwg a hwnnw. Os cân Elis i'r Coch, mi safaf wrth gefn fy nghydwladwr (o dan din fal y dywedant) hyd nas blino Elis a Dafydd o Drefriw, a phawb. But I would not be known or seen as an *ally*, much less a *principal* yn y fath ffrwgwd. Chwi a gewch yr Awdyl a addewais yn y nesaf.

Mae f'ewythr Robert Owen o Benrhos Llugwy yn dyfod drosodd yn o fuan i fyned i Manchester, ac fe ddaw a'm Robin Owen inau gyd ag ef, a phan elo'n ôl adref mi yrraf y Delyn Ledr gyd ag ef. That will be a safe way. Mi ge's lythyr oddiwrth y Llew yr un diwrnod a'ch un chwithau; yr oedd pawb yn iach yno, ac yntau ar gychwyn i Lundain. Yr oedd yn peri i mi gymmeryd calon, (not to be disheartened) ond hawdd yw dywedyd, Dacw'r Wyddfa; etto 'rwyf yn tybio fod fy nghalon i yn ddur neu o ryw ddefnydd rhy wydn a pharhaus i dori. Yr wyf ar bendroni yn disgwyl am lythyr oddiwrth y Mynglwyd, ac yn enwedig oddiwrth y pendefig o'r Gors i atteb Cywydd y Ffrancod· Surely my letter miscarried for want of knowing the Cross Post. I directed to William Vaughan, Esq., Member, &c., at Gors, in Merionethshire, N. Wales. Ai tybed nad oedd hyny yn ddigon?

Ond nis gwn i ar fy nghrogi pa le mae'r Post yn croesi i'r fangre anghysbell honno. Mae fel y byddwch gan fwyned ag ymwrando am offeiriadaeth i mi erbyn Calanmai, oblegid mi roddais *warning* i'm hen feistr er ys mis neu well, drwy ryw ymgom a fuasai rhyngof a'r Mynglwyd yn nghylch bod yn Offeiriad Cymreig yn Llundain; a chan nad wyf yn clywed gair oddiwrtho, I mistrust the scheme has miscarried, and almost repent of my rash warning here. My circumstances will not allow me to be idle for one week. Dyma ffrencyn a ge's gan y Du o'r Allt Fadog yn nghylch hwn; nis gwn beth a geir i wisgo am y nesaf oni chlywir o'r Gors. Fy annerch caredig at Mr. Ellis a phawb a garoch. Nid oes genyf ddim ychwaneg i'w ddywedyd, ond fy mod ar farw ac ar fygu gan y peswch. Duw a'ch cadwo'n iach. Wyf yr eiddoch yn ddiffuant,

GRONWY DDU.

## LLYTHYR 34.

### AT MR. RHISIART MORRIS.

WALTON, March 18, 1755.

I received your kind letter of the 26th instant, as also Mr. L. Morris's of the 27th ult., both which were very agreeable; and gave me a great deal of pleasure, you may think, at a time when my weak condition rendered me incapable of any other amusment. The conversation of a friend (tho' only

upon paper) is the best cordial for low spirits. I thank God I am now much better, tho' still but weak, which, I bless God, I can bear with patience and contentment; for the worse of it (as I am free from pain) is, that it will not suffer me to apply closely to any business, but requires frequent intervals of rest. As the duty is very large in this parish, I am forced to stir out as soon as I am able to crawl, tho' at the hazard of my life; and that was actually the cause of my relapse. Please to make my compliments to Mr. Lewis Morris, and tell him, when he talks of *low spirits*, he seems to take the effect for the cause of my illness, and not vice versa, which I can assure him is wrong in the fox. While God grants me health, it is not a little thing that can cast down my spirits; and without health the highest spirits must droop and sink. I am however infinitely obliged to you both for your kind concern for me, and it gives me a very great concern to hear of the prejudicial effect the town fog and smoke have upon Mr. L. Morris's health. However, I sincerly wish and hope he may be able to bear up under these inconveniences till his business there is over. I have been, some time after my illness, troubled with a sort of involuntary sighing, which comes upon me unawares, very frequently. I would have answered your last letter sooner, but that I had a good part of the Cymrodorion paper to translate, and all to write over, which is now done in the best manner I could do it. I hope it will

please the Cymrodorion in general, and Mr. Lewis Morris, and myself in particular. I gave it a free translation on purpose to avoid that crampt stiffness that is unavoidable in a verbatim translation. I make no doubt but you, as well as myself, have observed the shameful barbarisms and queer metaphors that are but too visible in some ill-translated Acts of Parliament, and which can be attributed to no other cause. You know there are phrases familiar enough and not without their beauty in English, which in Welsh would make a most monstrous and shocking figure, and so on the contrary. For instance, a *field of knowledge* does well enough in the English, but he must have more than common knack at questing that could find out the sense or meaning of *maes* or *cae* o wybodaeth; and I don't think that *ager scientiæ* would sound much better. Cynt y gwyddid pa beth yw *gardd o foron* yn Lladin cystal a'r Gymraeg. I hope, however, that this present translation is intelligible to all that understand the language, and that there is nothing in it which is not agreeable to the British idiom. I am not so vain as to think it to have any merit; but I dare affirm, that, if I had recourse to my Dictionary for every word, it would have been worse; as a proof of this I would recommend the experiment to be made on one paragraph only. There may be other orthographical faults in it, notwithstanding all my care, which I beg of you to correct in the perusal. My invariable rule in

that respect was never to double a consonant, when I thought a single one would do as well; as in *genym, cymeryd*; for I think we have already too many double ones, which we must use unavoidably, as long as we make use of the present characters and orthography. Bellach am yr enwau dyrus, chwedl y bobl. Mae *hynafiaeth* yn ddiddadl yn gystal gair am *antiquity* nad rhaid mo'i well; ac am hynny minnau a gymerais gennad i alw *antiquary* yn *hynafiaethydd*, a gobeithio na bum yn rhy hyf. Mi allaswn ei alw yn *anticwariad*, ond pe gwnaethwn, sut a fuasai i mi wynebu i ateb yr hyn a ddywedpwyd yna, sef bod yr "iaith heb gymorth dim geiriau dieithr, yn adrodd yn gyflawn holl ddychymygiadau'r meddwl." Dyna'r ffordd i Sais ein dal mewn celwydd, yn yr hyn na atto Duw. Am y gair *barbariaid*, a'r cyffelyb, mae i ni gystal hawl arnynt â'r goreu: nid yw *barbariad* ddim gair, yn y byd o'r dechreuad, ond rhai o gymydogion y Groegiaid (y Phrygiaid neu'r Troiaid mae'n debyg) oedd a chanddynt air go anhebgor, megys *bar, bar;* a'r Groegiaid yn ddig fod neb yn siarad heb iddynt hwy eu deall, a'u galwasant *barbariaid* bod y pen, o wir ddial ac atgasrwydd, fel y geilw Gwyndyd wyr y Deheudir *Hwynt-wyr fach* yn awr; ac fel y geilw'r Cymry i gyd bob peth na ddyallont *sisial, sibrwd,* a *sio,* a *sisyfwl &c.*, heb achos yn y byd, ar a wn i, ond bod y llythyren *s* yn rhy fynych yn iaith y Saison. Ac yr ydwyf yn cofio dynyn yn Amwythig a arferai

ddywedyd rhywbeth yn Saisoneg (yr hon oedd yr unig iaith a ddeallai) ond gan ro'i *ch* yn mhen pob gair, fe fynnai ei fod yn ddifai Cymraeg, a hyny am fod y llythyren *ch* yn tra mynych yn yr iaith Gymraeg.

Am y *Galli*, chwi ellwch eu galw yn *Galiaid*, neu *Galtau*, neu fel y mynnoch. Dyma ystori Iwl Caisar yn nghylch yr enw, sef mai *Cel t* y gelwid hwy yn eu hiaith eu hunain, ond yn Lladin *Galli*. Yn wir, wedi i Iwl eu curo hwynt, fe allai gymmeryd rhyddid a rhwysg i'w llysenwi fel y mynnai; ond hysbys agos yw gennyf mai camgymmeryd yr oedd Iwl yn yr enw arall, ac na alwodd y bobl erioed mo honynt eu hunain *Celtæ*. Yr ydwyf yn ffyddlon a sicr gredu mai *Gallau* neu *Galluau* y galwai y bobl eu hunain, (and by the bye they had a better title to that appellation than their present High Mightinesses;) ond na fedrai Iwl na'i bobl ystumio mo'u tafodau i ddywedyd y llythyren *ll* mwy na charn Sais. You know that even our later ancestors pronounced the letters *d* and *g* much harder than we do, almost as hard as our *t* and *c*; then consider how they would pronounce *Gallau*, and ask an Englishman to say *Gallau*, and I marvel if he does not say *Calthai* or *Celtau*, as they nickname *Llangollen* and *Llanfyllin*, *Glangothlin*, and *Lan* or *Glanvothlin*, or *votling*. Add to this, that it is more than probable that the *vulgar* of the later Romans did (as it is certain the old Romans did, witness Aurai, Pictai, &c., &c.) pronounce their diphthong *æ* or *œ*, as we do *au*, or

the Greeks their *ου*; for it is certain they never joined the two vowels *æ* thus, but as we do the same words in *traed*, *gwaed*, *&c.* If so, what difference is between their *Celtæ*, and the Κέλται of the Greeks, which, bating the mispronunciation of *ll* (as I said above) comes near enough to our *Gallau* for to fix and determine the original of the word. Mi ydwyf yr eiddoch,

GRONWY DDU.

## LLYTHYR 35.

### AT MR. W. MORRIS.

LLUNDAIN, Mehefin 7, 1755.

Y CAREDICAF GYFAILL,

Y mae'n gryn gywilydd gennyf na 'scrifenaswn atoch yn gynt; Wala hai, (meddwch chwithau,) dyna esgus pob dyn diog. Ond yn mhell y b'wyf os oes gennyf rith dim i'w 'scrifenu weithion, ac oni bai ofn bod yn ddau eiriog, mi ddywedwn ei bod hi yn rhy fuan i 'scrifenu etto. Mi fum yn hir yn lluddedig ar ol fy maith ymdaith o'r Gogledd, ac nid oes etto ddim gwastadfod na threfn arnaf, ond yr wyf yn gobeithio na byddaf chwaith hir heb sefydlu mewn rhyw le, oblegid fod y Cymmrodorion i gyd yn gyffredinol, y ddau frawd yn enwedig, yn ymwrando ac yn ymofyn am le i mi. Wele, dyma fi wedi myned yn un o'r Cymmrodorion yn y cyfarfod diweddaf, ond ni welaf etto fawr obaith cael Eglwys Gymreig. Pobl wychion odidog, mi

ro'f i chwi fy ngair, yw'r Cymmrodorion, dynion wyneb lawen, glan eu calonau oll. Mae'n debyg y gŷr y Penllywydd Mynglwyd i chwi lyfr y Gosodedigaethau, &c., oni yrrodd eisus. Gwych o hardded yw arfau Llywelyn ab Gruffydd, llun Dewi Sant, a Derwydd, &c. sydd o flaen y llyfr, wedi ei dorri ar gopr yn gelfyddgar ddigon. Ni welwyd yn Nghymru erioed debyg i'r llyfr hwn. Y mae pawb yma yn rhwydd iachus, fel yr y'ch yn clywed mae'n debyg yn o fynych. Mae fy holl dylwyth i yma bod y pen, ond fy merch fach a fynnai aros yn monwent Walton, o fewn deurwd neu dri at y fan y ganwyd hi; mi wneuthum ryw ddarn o Farwnad iddi hi, yr hon mae'n debyg a welsoch cyn hyn. Rhowch fy ngwasanaeth at Mr. Ellis yn garedig, a gadewch gael rhyw swm o newyddion o Fôn gynta' galloch. Chwi a welwch na fedraf ond rhy brin ymodi fy mhin na'm bysedd i ysgrifenu, ac yn wir nid oes arnaf na llun na threfn iawn o eisiau sefydlu mewn rhyw wastadfod fy hun. Gyrrwch gyhyd a'ch bys o lythyr yma gyntaf ag y galloch, er cariad ar Dduw, ac yno odid na fyddaf mewn gwell cyflwr i'ch atteb y tro nesaf. Dyma Mr. John Owen yn rho'i llythyr at ei fab yn yr un ffrencyn. Ein gwasanaeth at bawb a'n caro yn ein cefnau, a byddwch wych.

GRONWY DDU.

## LLYTHYR 36.

### AT MR. W. MORRIS.

LLUNDAIN, Gorphenaf 8, 1755.

Y CREGYNYDD ADDFWYN,

GWAE finnau fyth! mae'n chwedl chwith glywed yr hanes yna! Aiê, nid oes blas yn y byd mwyach ar na Chywydd nac Englyn, gan ddaed blas cregyn gwynion a gleision, a llygaid meheryn y Traeth Coch a Phenllech Elidr yn Môn? E ddywaid rhyw hen gorph er ys talm (Rhys ap Meredydd y pysgodwr o Faelor, hyd yr wyf yn cofio)

"Mai gwell bod yn wraig pysgodwr
"Nag i rai nad âi i'r dwr:"

Eithr anhawdd gennyf goelio ddywedyd o neb erioed (ond y merched) fod yn well i GYFAILL *Pysgodwr* na CHYFAILL *Prydydd*. Ac yn ol y byd sydd o honi y dyddiau hyn, fe allai fod prydydd cystal wrth *fenyw* a physgodwr. Ond beth yw pysgodwr i gregynwr, meddwch? Câr agos, fe weddai, wrth eich gwaith chwi yn dewis swrwd o weddillion ei bysg meirwon ef o flaen Cywydd ac Englyn. Wele, wele, fe allai y parhâ y gregynfa yna, er hynny i gyd, yn llawer hwy na gwaith un prydydd o'r to sydd, ac nid wyf, o ddifrif, yn ammau llai. Pa ddelw bynnag y digwyddo hyny, oddi na welsoch fod modd i brydyddu rhywfaint yn Llundain, a chwi a gewch, os byw fyddwch, ychwaneg o ddangosiad o hynny etto. Ni phoenaf yn gyrru i chwi ddim rhimynau oddiyma, gan fy mod yn

tybio fod Mr. John Owen yn hepgor i mi hynny o boen. Dyma hwn yn dyfod yn ffrangc y Llew, gyrrwch chwithau'r eiddoch yr un ffordd. Nid rhaid i mi yrru dim newydd; canys chwi gewch y cwbl, ond cymmaint yr wyf yn eiddoch,

GRONWY DDU.

O. S. Fy ngwasanaeth yn garedig at Mr. Ellis; a brysiwch yrru i mi ryw newydd o farw gwrach neu berson, os ceir grôd oddi wrtho.

## LLYTHYR 37.

### AT MR. RHISIART MORYS.

NHOLD, Hydref 9, 1755.

EIN TAD YR HWN WYT YN Y NAVI!

ARHOSWCH beth! nid oeddwn yn meddwl am na phader na chredo, ond meddwl yr oeddwn eich clywed yn sôn y byddai yn dda gennych gael offrwm o gywion colomenod; a chan na feddwn nac oen na myn gafr, mi a yrrais i chwi yn anrheg o'r goreu oedd ar fy llaw, a phoed teilwng gennych ei dderbyn. Eu nifer yw chwech, ac yr ydwyf yn lled ofni y cyst i chwi dalu i *borter* am eu cludo ar ei ysbawd o Holborn hyd atoch, ond am y cerbydwr mi a dalaf iddo. Os digwydd iwch weled y Llew, chwi ellwch ddywedyd wrtho'n hydr ddigon, nad â na phregeth na phregowthen yma nes darfod Cywydd Llwydlo; fod y Lladin agos yn barod ar y mesur a elwir *Sapphic*, a'm bod yn dra anewyllysgar i'r

Gymraeg fod yn Gywydd Deuair Hirion, canys mai hwnnw yw'r mesur adgasaf oll; rhigwm diflas ydyw, fel y gwyddoch chwi a phawb agos. Beth meddwch chwi am Gywydd Llosgwrn, yr hwn sydd yn union yr un dull a'r *Sapphic?* Etto bid ewyllys y Llew ar y ddaear, megys y mae (weithiau) tàn y ddaear. Ond chwedl yn eich clust. Dyma guro wrth fy nrws i am haner blwyddyn o dreth y goleuad, a chwarter o Poor's and Church Rate. 'Rwy'n dyall rhaid talu am wrido tua duw-llun nesaf; pa beth a wneir: ni ddaeth mo'r dydd tâl etto hyd yma: a ellwch estyn o 20 i 30 swllt mewn tipyn o barsel hyd yn Southhalt? Ac onid ê Duw a wyr, rhaid gofyn ced gan ddieithriaid. Mae gennyf ychydig tàn yr ewin, gwir yw, ond pa fodd y prynir pytatws heb ddimeiau? Pan ddelo Mr. Tâl yma mi a'i hebryngaf hyd atoch gyd ag annerch. Gofynwch i Sion Owen pa bryd y daw i'm hymweled. Mi gefais hanes y llyfrau, a gobeithio eu bod bellach haner ffordd yn Llundain. Fy ngwasanaeth at bawb a'm carant, a chwi yn mlaenaf, oddiwrth eich bachgen a'ch bardd,

GRONWY DDU.

O. S Ond gwrandewch etto, Mae'r Delyn o Bentre Eiriannell? Dyma Robert, er pan glybu son am dani, wedi troi'r llall heibio, ac yn dywedyd fod yn o fustlaidd ganddo ganu Telyn Bapur. 'Roedd yn dra hoff ganddo o'r blaen, ond weithion, mae yn o *how* gantho ei gweled, ac ni cheir mo'no ati

o hyd pigfforch a rhaff rawn, mwy na Dafydd ab Gwilym gynt at y Delyn Rawn. Da iawn gan y llanc Delyn, ond nid Telyn Bapur. Telyn like that he saw in Wales (i. e. at Pentre Eirianell) a fyn y dyn. Ac os fi fydd byw, fe geiff ddysgu ei chanu hefyd, oblegyd "Telyn i bob dyn doniawl," &c. Nos daw'ch.

Wele hai (meddwch) ai o'i hwyl yr aeth y dyn? i ba beth y mae'n rhoi negeseuon arnaf? Byddwch amyneddgar da chwi, ni chlywsoch hanner y negesau etto. Os chwi fydd ystig ni bydd arnoch byth brinder swyddau, tra bwyf fi o fewn hyd pigfforch attoch.

## LLYTHYR 33.

### AT MR. WILLIAM MORYS.

NORTHOLT, Rhagfyr y 29, 1755.

YR ANWYL GYDWLADWR, A'M HEN GYFAILL GYNT,

YN wir y mae arnaf gryn gywilydd gyfaddef eich bod erioed wedi bod yn nifer y cyfeillion, gan ddihired a fu'm wrthych; mi a ewyllysiwn dynnu llen-gudd dros yr amser a aeth heibio, a thaeru mai dyma y llythyr cyntaf erioed a ysgrifennais attoch. Ond y gwir a fynn ei le; a minnau pia'r gwarth a'r gwaradwydd am fod mor esgeulus; a phe gwyddwn fod rhithyn o obaith am faddeuant, mi wnawn aneirif addunedau i fod yn fwy gofalus a diwyd i ysgrifennu o hyn rhagllaw. Beth meddwch? (canys ni fynaf yn hyn o beth un Pab

ond chwychwi,) a ellid cael cymmod trwy ddwyn penyd? neu ynte a gŷst myn'd hyn a hyn o flynyddoedd i'r purdan? Os penyd a wna'r gwaith, wele ddigon eisoes, fod cyhyd heb glywed oddiwrthych, a thra diddaned im' gynt eich epistolau. Tra bum yn Llundain, un achos arbennig na ysgrifennwn attoch ydoedd, fy mod yn gwybod yn hysbys, os byddai gennyf gymmaint ag Englyn newydd, y byddai yna, trwy ddwylaw fy nghyfaill John Owen, cyn y medrwn i a'm bath roi pin ar bapur; wele, dyna un darn o'm hesgus; ond pa beth a dâl ymesgusodi? ond haws maddeuant er cyffes. Yr oedd hefyd, heblaw hyn oll, arnaf ofn o'r mwyaf oblegyd y Delyn Ledr; canys mewn brys a ffwdan o'r mwyaf y cychwynais o'r fangre gythreulig yn y Gogledd accw, a chan nad allwn gludo dim ar fy nghefn, nid oedd gennyf ond rhoi'r Delyn gyd â'r llyfrau eraill, a'u gorchymyn oll i law gwr a dybiwn yn bur ac yn onest i'w gyrru ar fy ol; gwir yw ni ysgrifennais ddim am danynt, hyd nad oeddwn ar ymadael o Lundain, ac yno mi gefais atteb, eu bod yn barod i ddyfod mewn wythnos neu bythefnos o amser; ond mae'r pymthegnos hynny wedi myned heibio er ys mis neu well; pa beth a wnaf ynte? nid oes gennyf ddim i'w wneuthur ond ysgrifennu etto yn ffyrnig atto ef i erchi arno yrru'r llyfrau. Os cyll y Delyn, bid sicr i mi golli ei gwerth ddengwaith o lyfrau o amryw ieithoedd, ond yn enwedig yn y Gymraeg. Fe fydd hynny yn bechod—ond gwaeth gennyf fi y

Delyn na dim, am nad oedd ond benthyg; ac am fy mod yn hysbys ei bod yn cynnwys eich llafur, a'ch difyrwch, dros amryw flynyddoedd; ond byddwch esmwyth, a chymmerwch gysur; nid wyf fi mewn ofnau yn y byd yn eu cylch, ac nid oes gennyf ddim anobaith, na gwan-galon, na byddant yma cyn pen mis; ac os byddant, bid sicr i chwi gaffael y Delyn pan gyntaf y bo modd i'w gyrru hi. Dyma i chwi holl hanes y trwstan, a chymmaint ag a wn i o hanes y Delyn.

Daccw'r Llew wedi myned adref er ys ennyd, fal y gwyddoch, ac ni chlywais air oddiwrtho fo na'i nai etto. Mae caniad Arglwydd Llwydlo, yn Lladin, yn barod er ys mis, a'r Gymraeg agos wedi ei gorphen, a phan orphenir chwi a'i cewch, os gwiw fydd gennych eu derbyn.—Doe y cefais lythyr o'r *Navy Office*: y mae y Llywydd Mynglwyd yn iach lawen, ac yn dywedyd i mi fod y Penllywydd o Gors y Gedol wedi dyfod i Lundain, ac y bydd yn un llabi y'nghadair y Cymmrodorion y seithfed o Ionawr nesaf; ac y mae i minnau ddyfyn i ymddangos o'i flaen, dan boen dioddef fy niraddio o freintiau ein hardderchog Gymdeithas, oblegid ein bod i ddewis swyddogion y diwrnod hwnnw am y flwyddyn rhagllaw; ac oni bai fy mod yn rhy bell, sef 10 neu 12 milltir, odid na byddwn ysgrifennydd anwiw i'r Gymdeithas. Ond bellach gadawch i mi roi i chwi ryw fesur o'm hanes presennol. Yr wyf yn byw mewn lle (fal y gwelsoch) a elwir Northolt, yn Offeiriad tan y Dr. Nichols,

Meistr y Deml *(Master of the Temple)* yn Llundain. Mae'n rhoi i mi 50 punt yn y flwyddyn; lle digon esmwyth ydyw'r lle am nad oes gennyf ond un bregeth bob Sul, na dim ond 8 neu 9 o ddyddiau gwylion i'w cadw drwy'r flwyddyn, a chan nad ydyw'r plwyf ond bychan, nid yw pob rhan o'r ddyledswydd ond bychan bach; am hynny mwyaf fyth a gaf o amser i ysgrifennu i'm Cymdeithas, a phrydyddu, &c. &c., yr hyn hefyd a ddechreuais er ys ennyd, er na chant hwy weled dim nes ei berffeithio.

Our general heads of enquiry are, you know, very extensive. Yr wyf yn awr yn prysur astudio Gwyddelig, ac yn ei chymharu â'r Gymraeg, ei mam; ac y'mhell y bwyf onid yw agos yn rhyfedd gennyf na ddeallem bob Gwyddel a ddoe o'r Iwerddon; ond gormod o dro sydd yn eu tafodau hwy wrth ymarfer âg iaith yr Ellmyn gynt, nid Saesoneg ond *high German*; canys dywedant hwy a fynnont yng nghylch ei gwreiddyn, a dygant eu tadau o 'Spaen, Melisia, gwlad Roeg, neu'r Aipht neu'r man y mynnont, nid y'nt ond cymmysg o Ellmyn a Brython, yn eu hiaith o'r lleiaf. Mi dybiais ganwaith gynt fod y Wyddelig yn famiaith, ond camgymmeriad oedd hynny, fal y dangosaf os byddaf byw. Mae yma yn fy nghymydogaeth ddyn penigamp o arddwr o'n gwlad, un a adwaenech yn dda gynt, a'i enw Owain Williams, ond Adda yr wyf fi ambell dro yn ei alw; mi a'i gwelais ddoe, ac yr oedd yn dymuno ei wasanaeth

attoch. Gan fod gennyf ardd o'r oreu (oreu o ran tir) mi fum yn cethru arno yn dost am ychydig hadau a gwreiddiach i'w haddurno, ac ni's medrodd gael i mi y leni oddiar ddyrnaid o *snow drops* a *chrocus,* oblegyd y mae yn achwyn yn dost nad oes na hâd na gwraidd i'w cael trwy deg na hagr, gan waethed a fu'r hîn i'w cynhauafa; ni wn i beth a geir flwyddyn nesaf. Lle iachus ddigon yw'r lle hwn, ac yn dygymmod yn burion â mi ac â'm holl deulu. Os byddwch faddeugar am a aeth heibio, ac mor fwyn a gyrru hyd bys o lythyr, llwybreiddiwch ef fel hyn:—*To me at Northolt, near Southall, Middlesex, near London.*

Duw ro i chwi iechyd, a blwyddyn newydd well na'r hen, ac well well byth o hyn allan, Annerchfi at Mr. Ellis a'r holl ffrindiau. Ydwyf, Syr, eich ufudd wasanaethwr tra b'wyf,

GORONWY DDU.

## LLYTHYR 34.

### AT MR. RHISIART MORRIS.

NORTHOLT, Chwefror 18, 1756.

SIR,

Ai ê, gwaeddi am Ddyri i'r Delyn y mae Robert? Mae telyn bach fy machgen i bellach dan lwyth y cortyn; onid yw yn beth diflas fod bwyd y cwn yn chwareu *migmars,* ac yn nacau dyn o honi cyd a chyd o amser? Rhyfedd na bai ar felldith ei fam ofn cael Dyri iddo ei hun, oblegyd

fe all feddwl yr haeddai yn dda gael tafod na lyfai gi mo hono, am ei faweidd-dra. Ond er hynny, fe gawsai Ddyri i'w Delyn ond i mi ollwng yn ang-hof y mesur, hynny yw, hyd y llinellau, a pha sawl llinell yn mhob pennill; a hynny sydd raid i mi ei wybod cyn y gwnelwyf y Ddyri. Mae'r gwlan-groen gan Sion Owen ddiog? A ydyw yr ewinoer ar ei fysedd? O'r cancr! Lle da i ddisgwyl dim daioni gan Sion Baentiwr; ond rhyw wên ci marw; gresyn na chawsai ei grogi er ys talm, y llygaid diawl dan garreg. Ffei o hono gingroen! Ond gwrandewch, yr wyf ar fedr bod yna Wyl Ddewi a'm holl deulu bod y pen gyd â mi, oblegyd ni cheid ganddynt aros gartref, pe cusenid eu tinau: Attebwch gan hynny i'r ymof-ynion hyn. Pa un ai yn eu gynau duon ai yn eu sipogau y bydd y Personiaid Cymreig y dwthwn hwnnw? Yn mha'r Eglwys y bydd y bregeth? Pwy a dderllyn y Gwasanaeth? Pwy a bregetha? Pa le y ceir Cenin prydferth? Beth yw pris Cen-hinen? A eill dynyn truan ddangos ei *big megys llanw mewn lli?* A geir dim dirmyg gan blant Alis, heb law gwaeddi *Taffy*, neu rechain rhyngom a'r gwynt? Dyna'r cwbl a ddymunwn ei wybod. Yr ym ni yma bod y copa wedi cael dillad newydd, ac yn ymloywi'n rhyfeddol, i gael ymddangos i Ddewi yn ein glan-drwsiad: ni welodd un o honom erioed gadw dydd mor barchedig, ac fe allai na welwn byth rhag llaw. Os trwy *Cheapside* y byddwch yn myned, fe fydd fy nheulu fi yn nhŷ

eu hewythr Rhys ab Rhys y Twcawr, yn ysbio drwy'r ffenestri arnoch. Nid y'ch (fe weddai) ddim am annerch y Tywysog y leni; pa sut y bu hynny arnoch? Byddwch mor fwyn a hyfforddi Caniad Llwydlo at Mr. Humphreys o'r Twr i gael ei farn arni. Fy ngwasanaeth at bawb a'm caro yn y cwr yna, ac odid y bydd hynny yn anhawdd. Wyf eich gwasanaethwr ufuddaf, neu'n hytrach eich gormeswr anoddef,

GRONWY DDU.

## LLYTHYR 35.

### AT MR. R. MORRIS.

NORTHOLT, Mai 20, 1756.

YR ANWYL DAD,

MI dderbyniais eich epistol torrog, ac ni's gwn yn iawn pa un mwyaf ei gymmeriad yma ai y fam. Da oedd gweled pob un, ac amheuthyn iawn oedd gweled un o Gybi. Digrif o'i go yw'r hen fardd Coch. Mae Gwilym Gybi yn taeru ei fod wedi hurtiaw; ond yn wir glew iawn y tybiwn yr hen gorphyn, ac ystyried y cwbl, sef nad oes gantho neb yn Nghymru i hogi ei hen awen rydlyd, na neb i ddarllen a brydo, nag i'w ganmawl na'i oganu; ac o cheiff o ddamwain a'i darlleno, odid gael a'i dyallo, ac a farno'n gywir, ac yn gelfyddgar arno. Dyma fy ngyflwr fy hun gynt, a gwir yw'r hen chwedl, "Gwraig a wyr gyflwr gwraig." Ond sicr yw gennyf mai dyma y

Cywydd goreu a welais i erioed o waith y Coch, (ac fe fu agos i mi a dywedyd o waith neb sy'n fyw heddyw; ond da'r atteliais,) ac fe gaiff atteb ryw bryd fel yr haeddai. Nid am ei fod yn arwyrain i *mi* yr ydwyf yn canmol y Cywydd, oblegyd mi gefais fwy o ryw fydr-glod gan yr un awdwr dro arall, (er na feddyliais y talai ei atteb,) ond am fod ynddo fwy o synwyr, a llai o eiriau segur, ac ymadroddion anghyfiaith gwagsaw, anmrhiod, a gwell Cymraeg. Ei gynghanedd y tro o'r blaen oedd y Groes Rywiog ddychweledig, i'w chanu wyneb a gwrthwyneb. Na bo ond ei grybwyll! Ond beth a dal cynghanedd heb synwyr, cymesuroldeb, a phriodoldeb? Ai ê, tybio a wnaech fy mod yn glâf, neu'n tori fy nghalon ar ol y blwch tybaco. Nid ydych chwi ddewin yn y byd, mi welaf, er eich bod yn benaf ar holl dderwyddon, a doethion, a dewinion Prydain Fawr. Beth meddwch am wers o ddiogi, &c. &c., a llawer o fân ddamweiniau eraill a all ddigwydd i ddyn? Ond un peth (os rhaid cyfaddef) sydd i'm digaloni yn gethin, sef na chlywais o'r Allt Fadog oddiwrth y Llew na'i nai. Rhyfedd na chlywid oddiwrth Ieuan Owen fwynaidd, os yw'n fyw; am y Llew yr wyf agos a chanu'n iach iddo, oblegyd fod lle i ofni ei fod wedi digio dros byth bythoedd, o ran na chefais ganddo ond sèn, yn y llythyr diweddaf byth a welais oddiwrtho. Y matter sydd fel hyn (a mater garw yw hefyd,) digwydd a wnaeth i'r Llew ddal sylw arnaf yn ysmocio fy nghetyn yn

Nghyfarfod y Cymmrodorion. ac uthr oedd ganddo weled y Bardd (fel iâr mewn mwg) a'r niwl gwyn yn droellau oddiamgylch ei ben (like glory in a picture). Dyna'i air; ond am Foulks, &c., nid oedd ryfedd ganddo. • Yr oedd yn taeru yr un amser fy mod wedi haner crapio; ac yn wir y mae yn adgof gennyf yfed o honof ran o phialaid o bwyns yn nhy y câr H. Prys cyn dyfod yno. Ond gadewch i hynny fod: nid aml y bydd y gwendid hwnnw arnaf, (goreu byth po'r anamlaf,) a diau yw bod maddeuant i fwy troseddau na hynny, er ei gymaint. Sèn iachus er fy llês i oedd y sèn, a diolchgar ydwyf am dani; ond etto nid arwydd da ar neb fod yn anfaddeugar. Nis gwn i achos arall yn y byd iddo ddigio a bod mor dŷn. Mae gennyf yma yn fy ymyl broffwydoliaeth a 'scrifenwyd cyn gweled o honof Lundain erioed, sy'n dywedyd, "Mai os fi (pan ddeuwn yna) a fethwn yn yr hyn lleiaf ddal y ddysgl yn wastad i'r Llew, na wnai ond fy nirmygu a'm cablu, a'm coegi, ar air a gweithred byth, heb obaith na chymmod, na hawddgarwch, na mwynder yn oes oesoedd, Amen."[1] Nid hawdd gennyf fi goelio y gwaethaf am neb, yn

[1] Mae'n gôf genyf glywed yr *histori* uchod, gan Ddafydd Ddu o Eryri, o fewn 40 mlynedd yn ol; yr hwn hefyd a'm sicrhaodd mai dyma yr amser y canodd Goronwy ei "Gywydd i Ddiawl," yr hwn sydd yn ei lyfr: ac mai wrth y *diawl* y golygir L. Morris: y mae yn wir fod y Cywydd hwnw yn golygu y dystiolaeth rag-grybwylledig, etto fe ymddengys i Oronwy faddeu, a chanu Marwnad ardderchog iddo yn America, er talu y ddyled olaf. O. W.

enwedig am un yr oedd i mi le i dybio yn well o honaw, a phe y gwyddwn pa le y mae, mi a yrrwn atto unwaith etto i edrych beth a ddywedai. D'ygaswn eich bod yn ei ddisgwyl yna cyn hyn, ond ni chlywaf mo'noch yn son gair o'i ddyfod. Drwg clywed ei fod yn y drain, pa le bynag y mae; Duw a'i rhyddhao o honynt, Amen.[1]

Am Gân Arwyrain y Cyw Arglwydd, ni thybiais fod neb yn absen y Llew a'i cyflwynai i wneuthur dim lles â hi, oblegyd bod y Llew wedi bod o'r blaen yn son am danaf wrth yr Iarll, yr hyn na bu neb arall ar a wyddwn i, ac odid y cofiai'r Iarll mai fi a grybwyllasai y Llew wrtho, oni bai iddo ef ei hun ei chyflwyno, a dwyn ar gof i'r Iarll yr ymgom a fuasai am fy nghylch. Mae hi etto heb ei llawn orphen yn Gymraeg; ond bellach atti hi o nerth braich ag ysgwydd. Ond yn y cyfamser dyma i chwi ryw erthyl o Gywydd (Cywydd i'r Diawl) tra bo'ch yn aros am dani. A glywch chwithau y gŵr boneddig, yr y'ch yn cwyno i'ch peswch, ac yn dwrdio myned i'r wlad i ro'i tro, pa waeth ynteu fyddai i chwi yma na lle arall? Chwi gaech groeso calon i'r peth sydd yma, a diolch mawr am eich cymdeithas; chwi a gaech wely rhwydd esmwyth, a dillad glân tymhoraidd (ond heb ddim *curtains*), ac chwi ellwch wneud eich ystafell gan dywylled â'r fagddu os mynnwch; chwi gaech ambell foliad o

[1] Cyfeiriad ydyw at ryw anffawd a syrthiodd ar L. Morys oddiar law ei feistriaid swyddogol; y rhai (ebe llythyr a welais) a'i taflasant i garchar. O. W.

bastai colomennod ar droeau, ac ymgomio gyda'r Doctor weithiau, os gwelwch yn dda. Mae Mr. Parry o'r Mint? Onid oedd y gwr da hwnnw wedi addaw bod yma cyn hyn? Mi fuaswn (yn wirionedd) wedi gyrru yna yn mhell cyn hyn o amser; ond fy mod yn ei ddisgwyl beunydd tra fu wiw. Cofiwch fi atto, ac yn rhodd gofynwch iddo, i ba beth y mae'n chwareu pricsiwn, yn addo dyfod ac etto'n naghâu; ac os cewch y gwr talog yn gloff yn ei esgus, rhowch iddo wers a dau dro a hanner ar ei arddwrn, a gwasgu'r feg arno mal y gwelo'ch doethineb yn oreu, a'i yrru unwaith o fwg y dref hyd y pren dioddef, ac odid na ddaw yma. Ond yn ddigellwair, mae'n rhyfedd gennyf pa beth sydd yn ei lestair. Os medr ddygymmod â'r fywoliaeth sydd yma, fe fyddai iddo gymaint croesaw a phe byddai Dywysog Cymru, a hyny a ddywedais wrtho lawer gwaith, ac nis dywedwn yn fy myw ddim yn ychwaneg. Dyma'r llythyr y talasoch am dano wedi ei gael. Mae'n dyfod oddiwrth Robert Owen, gŵr fy modryb Agnes Gronw, ac yn rhoi hanes o ryw heldrin rhwng Proctorion Llanfair a f'ewyrth Robert Gronw, yn nghylch yr hen dŷ lle ganed fy nhad, a'm taid a'm hen-daid, a'm gor-hen-daid, &c., a phed fawn i yno, myfi a ro'wn ben ar yr ymryson, oblegyd myfi biau'r tŷ a'r gerddi, ac oll sy'n perthyn iddo, er na waeth gennyf mor llawer pe cai'r cigfrain ef; ond gwell fyddai gennyf i rai o'm gwaed nag estron genedl, yn enwedig y Deinioles ffeilsion ei gael. Onid yw ddigon i Banington fod wedi

llygru ein cenedl trwy ymgymharu a chyfathrachu â phob cainc (agos) o honi? A fynent yrru unig gyw digymmysg diledryw, dros y nyth? Mi fynaf weled hynny, ac a fynaf wybod beth a dalo fy hawl i'r lle, ped fai ond cut mochyn. Nid rhaid ond rho'i'r peth yn llwyr, yn gywir, ac yn eglur o flaen y Dr. Nicols, ac fe geir atteb yn rhad o'r deml, gan wŷr a ŵyr bob cruglyn o'r gyfraith. Ni fu erioed osod nac ernes ar y lle yn amser tad na thaid neb sy'n fyw heddyw, na thaledigaeth am dano, ond 4s. i Eglwys Llanfair bob blwyddyn, ac fe dâl y lle dair punt o'r lleiaf yn ol y prisiau sydd yn Môn. Pwy biau bob *Commons* yn Môn? Nid yr Eglwys mae'n debyg. Wele hai! Dyma lythyr oddiwrth y brawd Owen ab Owen o Groesoswallt, yn dywedyd farw fy mam yn nghyfraith: mi gaf y *grasbil* yn dyhuddo fy ngwraig Elin am ei mam. Bellach fe geir gweled a gywirodd fy hen chwegr ei geiriau. Hi fyddai yn addaw y ceid rhyw wmbreth o bethau pan y byddai hi farw; ond yr wyf yn tybio nad oedd yn ei bryd y pryd hynny farw byth. Mae 'stâd y Brithdir yn y Glyn Ceiriog a addawodd i Robin? Dyma i chwi gymaint o newydd a marw gwrâch; ond nid ydwyf fi yn disgwyl cymaint a grôt oddiwrthi. Etto mi ddisgwyliaf lythyr cyn y bo hir oddiwrth y brawd John Hughes, ac yno fe geir gwybod pa sut a fu. Er mwyn dyn a oes modd yn y byd i gael dwsin o ffrainc; ni buont eirioed brinach yma, na mwy angen am danynt. Ni feddaf gymaint ag un i'w yrru i Gybi; felly pa

beth a wneir, meddwch chwi? Mi wneuthym Dabl-lyfr o lyfryn y Penllywydd er's talm mawr o amser, ac a'i dygaf yna pan ddelwyf; ond, heb y Gronwy Ddu, pa bryd a fydd hynny? Nid y cyfarfod nesaf, oblegyd yr wyf yn ofni nad allaf pe'm direddid. Dyma Gornelius ab Adda wedi dyfod i'm hedrych, ac yn eich hannerch yn fawr. Mae'n dywedyd i mi fod yn beth cywilyddus i'r Tew o Gybi ddisgwyl dim yn chwaneg o lythyrau oddiwrtho fo, nes atteb y rhai a gafodd, a bod yno bedwar eisus yn crïo yn ei wyneb ddŷdd a nôs am attebion. Gwae fi na wyddwn pa le mae Miltwn o Gastell y Waun yn byw yn y dref yma, i edrych a gaid rhyw faint o ffrainc gantho. Ni naghasai mo'nof ddydd a fu; eithr cywilydd yw crugo pobl foneddigaidd am ryw oferedd; ond myn Derfel mae arnaf gymaint eisiau ffrainc nas gwn beth i'w wneuthur. Dyma'r diweddaf yn dyfod yna attoch. Peidiwch ag esgeuluso gyrru Parry yma, da chwithau; dywedwch wrtho am ddyfod yma ddydd Sadwrn, o achos fod gennym ffair ddydd Llun, a phob digrifwch ynddi, megys rhedeg, neidiaw, ymbastynu, neu dorri cloliau a llaw-ffyn; a phob math arall o ddifyrwch gwladaidd, megys y peth a welsom y llynedd yn *Mheckam Rye*, pan enillws y Gymraes y Crys mein-llin. Rhyw Wylmabsant, mi debygwn yw'r peth, o herwydd ni chedwir mo'no ond unwaith yn y flwyddyn; ac er eu bod yma yn ei alw ef yn ffair, ni bydd dim ar werth ynddo ond teisenau, bara melys, a theganau a chwrw, &c.

Beth fyddai i chwi bicio yma gyd a Pharry? Nid rhaid i chwi ddim ofn prinder o fwyd a diod, na lle i orwedd. Onid ellir eich cynnwys yn ein gwelyau ni, fe ellir cael eu gwell mewn tŷ *private* wrth y fonwent, lle bu llawer un a ddeuai i'm gweled yn cysgu, cyn bod gennyf fi le fy hun i'w croesawu. Cymmerwch fy nghynnyg am hyn o dro, a dowch yma; ac oni ddowch, gadewch gael gweled *bropred* esgus a geir gennych. Ond na chynnygiwch wynebu mo honof heb bentwr mawr o ffrainc yn eich coden. A chofiwch y blwch tybacco er dim a fo, oblegyd fod yr argraff sydd arno yn sefyll yn lle Cronicl o ryw beth go hynod a ddigwyddodd yn amser Gronwy Ddu. Rhowch fy annerch yn garedig at William o'r Tŵr Gwyn, y person ab Wmphre, a phawb oll a'm caro, neu a garaf, (os gwyddoch pwy ydynt,) a chredwch fy mod, o galon ddiffuant i'ch caru a'ch parchu fel y gweddai i'ch gwasanaethwr gostyngeiddiaf oll,

GRONWY DDU O FON.

---

## LLYTHYR 41.

### AT MR. R. MORRIS.

NORTHOLT, Mai 28, 1756.

Y TAD,

Y welwch chwi bellach pa beth yw taro diogi ar draws ei ddannedd? Dyna i chwi ganiad Llwydlo o'r diwedd, a gwnewch yn fawr o honi, os haeddai, neu beidiwch. Ond gwych y mae'r hin hafaidd,

araul, fendigaid hon yn dygymmod â'r awen. Ni feiddiai'r druanes gymaint a dangos ei phig allan o'r blaen, pan oedd yr hin yn oer, ond weithon gwych ganddi ymdorheulo yn yr ardd; neu ryw laslwyn ireiddlwys yn y maes, hyd oni b'or tes ysblenydd yn ei gwefrio, a hithau'n canu Grwnan Gronw, hyd oni sereno'i llygaid. Da chwi gyrrwch y Ganiad i'r Llew i'r Allt Fadog, (os yno y mae,) gynta' galloch, a dymunwch arno chwilio balciau yn y Gymraeg fanylaf y bo modd. Am y Lladin yr wyf yn tybio y gwasanaetha. Mae hi gan y Dr. Nichols, wedi bod gyd ag ê, a chyda Meistr Humphreys o'r Tŵr, ac ni chlywaf yn beio dim arni. Gyrrwch yn ddiattreg bwt o lythyr, &c.

Y Du, o Fon.

## LLYTHYR 42.

### AT MR. RHISIART MORYS.

NORTHOLT, Medi 27, 1756.

(Yn niwedd y llythyr go ddigllon hwn medd ef.) Am eich llyfrau chwi a fenthycais; chwi a'i cewch pan fynoch: ni bum erioed ar gyngyd, na'u bwyta, na'u hyfed, na'u gwerthu, na gwneuthur ffagl o honynt. Ac am y Davies yna, mae iddo groeso i'r dodrefn (sydd heb dalu am danynt) pan fyno: nid oes arnynt nemmawr o geiniogwerth, a phan ddelo amser cyfaddas, mi ddiolchaf i'r wyneb lleuan gadach am ei gastiau llechwraidd. Yr oedd y llech-gi brwnt yn ddiswydd ddigon, i ddyfod yma

gyda'r cynrhonyn coesgam hwnnw o fachgen i hel chwedlau. Ac yn cydgoethi, a chydgablu arnaf gyda'r dafarnwraig biglas yma, fel y mae hi ei hun yn addef wedi cymmodi o honom.

Y BARDD GWYLLT.

## LLYTHYR 43.

### AT MR. WILLIAM MORYS.

NORTHOLT June 25, 1757.

Y CYDWLADWR MWYN,

DOE y bu'm yn Llundain yn ymweled â'ch brawd, ac yn rhyw sut fe ffynodd gennym fod yr un feddwl yng nghylch argraphu barddoniaeth Gronwy Ddu, ac yr ydis yn amcanu dwyn y gwaith i ben gyntaf byth ag y gellir. Odid yn wir fuasai i mi byth fod yn ewyllysgar i'r peth (nes cael y saith gymaint o honynt o'r lleiaf) oni bai fy mod wedi rhoi llwyr ddiofryd yr awen ac ymwrthod â hi dros byth, ac na'm dawr (o'r plegyd) pa beth a ddel o ddim o'r eiddi, namyn cael tâl am y boen a dreuliais arni eisus, a phoed iach. Fy nymuniad gan hynny arnoch chwi yw, bod mor hynaws, (os rhynga'ch bodd) a gyrru i mi Ddychymyg Cryfion Byd ar ganiad Lladin i'r Cadben Ffwgs, Quid crepat, &c., ac od oes dim arall o'm gwaith nad yw gennyf eusus. And above all to take in subscriptions for me in your part of the country, which favour (I suppose) will be begg'd in my name by your brother, and some of the proposals sent you

for that purpose as soon as they are ready. The towns he mention'd for fixing a correspondence in to get subscriptions are Holyhead, Aberffraw, Carnarvon, Denbigh, Wrexham, Salop, Carmarthen, &c.; in some of which I have a couple of town booksellers, viz., Dodd, and William Owen of Temple Bar, besides your brother. I beg you would excuse the shortness of my letter, because I'm busy in raising new correspondents, reviving old ones, &c., and have not a frank in the world. Owen Williams is well, and desires to be remember'd to you. I beg your answer by the first conveniency, and am, Dear Sir, your most obedient servant,

GRONOVIUS.

## LLYTHYR 44.

**At yr anrhydeddus a'r hybarch Gymdeithas o Gymmrodorion, Gronwy Ddu, eu cyfaill a'u bardd gynt, a'u gwasanaethwr, a'u câr hyd angau, yn anfon annerch.**

**Tachwedd 2, 1757.**

Y PENDEFIGION URDDASOL,

YN gymaint a'm bod eisus yn dra rhwymedig i'ch hybarch Gymdeithas, a'm bod yn myned (Duw roddo fordwy dda) yn rhy bell i ddisgwyl byth weled un wyneb dyn o honoch mwy; mi dybiais nad anghymmwys i mi, neu'n hytrach fod yn ddyledus arnaf, gymmeryd cennad têg genych oll cyn fy nghychwyn. Ac, fal y mynnai Duw, dyma'r adeg oreu oll o'm blaen, sef ar noswaith eich

cyfarfod, pryd y mae rhan fawr o honoch wedi ymgynull trwy "*undeb a brawdgarwch*" (yn ol eich arfysgrif) i gydsyniaw ar wir les eich gwlad, ac i hwylio yn mlaen amryw bethau eraill o ddibenion canmoladwy'ch cymdeithas. Gweddus a Christ'nogol iawn eich gwaith; boddlon gan Dduw, a chysurus i amryw o'i haelodau anghenawg, a chlodfawr yn ngolwg holl ddynolryw; a sicr a fydd eich gwobrwy ddydd a ddaw, gan yr Hwn a ddywed, "Gwyn ei fyd a dosturia wrth y tlawd a'r anghenus." Am danaf fy hun, nid allaf ymhoni o ddim rhan o'r fendith yma, (er bod yn aelod o'ch urddasol Gymdeithas,) gan na roes y Goruchaf i mi mo'r gallu, er y gallaf yn hyderus ddywedyd na bu arnaf eirioed ddiffyg ewyllys, ac os Duw a'm llwydda, na bydd byth. Dyn wyf fi (fel y gwyr amryw o honoch) a welodd lawer tro ar fyd, er na welais nemawr o dro da; ac mi allaf ddywedyd wrthych, fal y patriarch Jacob i Pharao gynt, Ychydig a blin fu dyddiau'ch gwas, hyd yn hyn; ond yn awr yr wyf yn gobeithio fod y Nef yn dechreu gwenu arnaf, ac y bydd wiw gan yr Hollalluog, sy'n porthi cywion y gigfran pan lefant arno, roi i minau fodd i fagu fy mhlant yn ddiwall, ddiangen. Er eu mwyn hwy yn unig y cymmerais yn llaw y fordaith hirfaith hon, heb ammau genyf nad galwad Rhagluniaeth ydyw. Hir a maith yn ddiau ydyw'r daith i Virginia; ond etto, mae'n gysur pan elir yno gael *dau gant punt yn y flwyddyn* at fagu'r plant. Mae hyn yn fwy nag a

ddisgwyliais eirioed yn Mrydain na'r Iwerddon; a pha fodd yr attebwn i'm teulu pe gwrthodwn y fath gynnyg trwy lwfrdra a difrawch! Er eu mwyn hwy ynte mi deflais y dis, gan roi f'einioes yn fy llaw, a diystyru pob perygl a allai fy ngorddiwes, a hynny nid yn fyrbwyll, ond o hir ystyried, ac ymgynghori â'm carai. Ond er hynny, wedi ystyried ol a blaen, mi welaf yn awr lawer o anghaffael na fedrais graffu arnynt nes bod yn rhy hwyr. Erbyn cyttuno â pherchenog y llong, mi welaf nad ydyw yr holl arian a gaf at fy nhaith, ac oll a feddaf fy hun (wedi talu i bawb yr eiddo) ond prin ddigon i ddwyn fy nghost yno: ac erbyn y caffwyf fy nhraed ar dir yr addewid, byddaf gyn llymmed o arian a phan ddaethym o grôth fy mam. Gwaith tost yw i bump o bobl fyned, nid i deyrnas ond i fyd arall, heb ffyrling at eu hymborth! A gwaethaf oll yw, nad â'n llong ni o fewn 30 milldir i Williamsburgh; ac Och Dduw! pa fodd yr ymlusgir hyd fôr na thir heb arian. Fe wyr Duw mor llwm ac annhrwsiadus hefyd ydym oll i fyned i'r cyfryw le, ond nid yw hynny ddim os ceir bara. Dyna'r achosion, anwyl gydwladwyr, a barodd i mi ryfygu gofyn eich cymmorth ar hyn o dro, gan wybod yn ddilys na flinaf un o honoch byth rhag llaw; ond os Duw a rydd einioes, mi gydunaf â chwi'n llawen i gymmorth eraill o'm gwlad. Rhowch hefyd im' gennad ar hyn o achlysur i dalu diffuant ddiolch i chwi am eich parodrwydd i'm cymmorth dro arall, pryd yr oedd llai fy angen i,

er nad llai eich ewyllys da chwi, na'm diolchgarwch inau; er na cheisiais, ac na chefais y pryd hynny ddim o'ch haelioni, o fai rhyw aelod blin terfysgus oedd yn eich plith. Ond yn awr yr wyf yn attolwg arnoch, y rhai oeddych mor barod i'm cymmorth ped fuasai raid, fy nghymmorth ychydig wrth fy llwyr angenrhaid. Nid wyf yn ammau ewyllys da yr un o honoch ar y cyfryw achos; ond pa un bynag a wneloch ai ystyried fy nghyflwr ai peidio, myfi a weddiaf ar Dduw roddi i chwi lwyddiant yn y byd hwn, a'r hwn a ddaw; yr hyn y pryd yma yw'r cwbl a eill eich ufuddaf wasanaethwr,

GRONWY DDU.

## LLYTHYR 45.

AT MR. R. MORRIS.

Ar fwrdd y Trial yn SPITHEAD, Rhagfyr 12, 1757.

YR ANWYL GYDWLADWR,

DYMA ni trwy ragluniaeth y Goruchaf, wedi dyfod hyd yma'n iach lawen, heb na gwyw na gwaew, na selni môr, na dim anhap arall i'n gorddiwes, er caffael o honom lawer iawn o dywydd oer a dryccinog, tra buom yn y *Downs*, ac o'r *Downs* yma. Gwych o gefnocced mae fy ngwraig a'i thri Chymro bâch yn dal allan, heb na chlefyd y môr na chyfog, ond rhyw dipyn o bendro y dydd y daethom o'r *Nore* i'r *Downs*, lle yr oedd y lladronesau Seisonig yma, ie, a'r lladron, ac ambell un o

ddynion y llong ar chwydu eu perfeddau allan. Och yn ein calonau! dynion bawaidd aruthr yw dynion y môr. Duw fo'n geidwad. Mae pob un o naddynt wedi cymmeryd iddo gyffoden o fysg y lladronesau, ac nid ydynt yn gwneud gwaith ond cynuchio'n rhyferig yn mhob congl o'r llong. Dyma 5 neu 6 o naddynt wedi cael y clwyf tin-boeth (na b'o ond ei grybwyll) oddiwrth y merched, ac nid oes yma feddyg yn y byd ond myfi sydd a llyfr y Dr. Shaw gennyf; ac yn ol hwnnw y byddaf yn clytio rhywfaint arnynt â'r hen gyffyriau sydd yn y gist yma. Fe fydd arnaf weithiau ofn ei gael fy hunan wrth fod yn eu plith. Mi fedyddiais un plentyn (a'i enw Francis Trial) ac a'i cleddais ef, a lleidr a lladrones heb law hynny. Heddyw y cleddais y lladrones. A ydych yn cofio fel y dywaid y penbwl yma o gadpen, y cai fy ngwraig un o'r lladronesau yma i weini iddi tra b'ai ar y môr? Y mae yma yn y caban un o honynt, ond i weini pidyn y gwr yma, nid i wasanaethu fy ngwraig i y deuwyd a hi yma. Ni welwyd eirioed fwystfil o ddyn gwaeth na'r penaeth. Y mae'n gorfod arnom er's pythefnos yfed dwfr drewedig neu dagu; (canys nid oes dyferyn o ddiod fain yn y llong;) ac edrych arno yntau yn yfed ei winoedd a'i gwrw rhyngo ef a'i gyffoden, ac yn sipian ei weflau diawl i godi blys arnom, ac yn dywedyd, "It is very good." Pa beth meddwch chwi a ddaw o honom cyn pen y daith? Ond mae gennyf finau *faril* o *borter* heb eirioed ei agor, a pheth

*rum.* Yr ydwyf yn lled ofni iddo ryw dro neu gilydd fy nigio gan belled (wrth daro rhai o'm plant, neu gast arall, fel y mae arno gant o gastiau drwg) a gwneuthur i mi redeg fy nghleddyf dan ei asenau byrion, a diolch iddo roddi i mi fenthyg dul o gleddyf gan flaenllymmed. Ond Duw a'm cadwo rhag drwg! Rhowch fy ngwasanaeth at Mr. John Owen, a dangoswch hwn iddo, ac at y Llew, Parry, Humphreys. Yr ydym i hwylio pan gyntaf y b'or gwynt yn deg gyda'r rest o'r llynges, yr hon sy'n cynnwys yn nghylch 300 o longau.

Duw ro i chwi a minau iechyd, gyda thaith dda. Mi ydwyf eich ufuddaf wasanaethwr,

GRONWY DDU.

## LLYTHYR 46.

### AT MR. WILLIAM MORYS.

BRUNSWICK, (America) Gorphenaf 23, 1767.

YR ANWYL GYFAILL,

AR ol cyd alaru â chwi am farwolaeth eich dau frawd godidog, y nesaf peth a ddylwn ei wneuthur yw mynegi i chwi pa fodd y digwyddws im' glywed y trist newyddion. Ar fyr eiriau, fal hyn y bu. Chwi, fe weddai, a ysgrifenasoch at ryw William Parry yn Middlesex yn y wlad yma, tros saith ugain milldir i'r lle yr wyf fi yn preswylio, ac yntau yn mhen hir a hwyr a ysgrifenodd yma. Minnau a'i hattebais yntau drachefn, ond byth

gwedi ni chlywais siw na miw oddiwrtho. Ofni yr ydwyf fod rhyw chwiwgi wedi difrodi fy llythyr cyn ei roddi i'r Parry. Nid oes yma ddim Post yn myned drwy'r wlad fel yna; dim ond ymddiried i'r cyntaf a welir yn myned yn gyfagos i'r lle; ac weithiau fe fydd llythyr naw-mis neu flwyddyn yn ymlwybro 30 milldir o ffordd, ac yn aml ni chyrhaedd byth mo'i bennod. Hiliogaeth lladron o bob gwlad yw y rhan fwyaf o drigolion y fangre hon, ac y mae ysfa ddiawledig ar eu dwylaw i fod yn ymyraeth â phethau pobl eraill, ac i wybod pob smic a fo'n myned rhwng Sais geni a'i gydwladwyr yn Lloegr. Dialedd o chwant sydd arnynt gael gwybod helyntion gwyr o Brydain, a pha un a wnelont ai rhoi gair da i'r wlad a'r bobl yn eu llythyrau at eu cydwladwyr ai peidio. Fe gyst i mi fyned driugain milldir neu well i roi hwn i ryw gadpen ar fwrdd llong, onid ê ni ddeuai byth hyd yna, os daw er hynny. Mi ysgrifennais attoch luaws o lythyrau wyth mlynedd i'r awr hon, nis gwn a gawsoch ddim o honynt.[1] Y mae yma o fewn 40 milldir attaf, un Sion ab Hugh, Cymro o Feirionydd, yn Berson mewn plwyf; hwnnw a ddywed i mi fod fy nghyfaill Lewis Morys wedi cael ei daflu yn y gyfraith, a'i ddiswyddo, a'i ddifetha, a'i fwrw i garchar, cyn iddo adael Cymru,

[1] Os cyrhaeddodd y lluaws llythyrau hyn eu pennod, fe'u trosglwyddwyd fe allai i'r Plas Gwyn, Pentraeth, a bellach wedi pydru mewn hen gistiau yn ysgubor Penrhos, ger Caergybi, gan Barton Panton. O. W.

ond ni chlywsai mo'i farw. Fe ddywed hefyd, fod peth o'm gwaith yn argraffedig, a gwaith y Llew gyda hwynt. Gwych a fyddai eu gweled. Do, hefyd gwaith Ieuan Fardd (y Prydydd Hir fe allai) yn argraffedig. A ellid byth ei weled y tu yma i'r môr? Ni chaf na lle nac amser i ddywedyd i chwi ddim helyntion ar hyn o dro; pan weloch yn dda ysgrifennu, chwi a gewch wybod faint y fynnoch. Yr unig beth sydd i mi daer ddeisyf gennych yw, rhoi i mi lawn gyfrif pwy rai o'm cydnabyddiaeth sy'n fyw, a pha le y maent, rhag i mi ysgrifennu at bobl yn eu beddau. Mae'ch nai Sion Owen fwynwr? Mae Parry o'r Mint? Mae'r Person Mr. Humphreys? Ai byw Twm William y Druggist o Lôn y Bais? Os ê, ai yna mae fyth? Ai byw Huwcyn William, Person Aberffraw? Ai byw'ch tad, a'm chwaer innau Sian yn Mynydd Bodafon? Mi ge's newydd farw 'mrawd Owen, yn Nghroesoswallt. Yr ydwyf fi (i Dduw y bo'r diolch) yn iach heinyf, a'r wlad yn dygymmod a mi yn burion. Nid oes un o'm teulu Seisnig yn fyw ond fy mab Robert; ac yr ydwyf yn briod a'm trydydd gwraig, a chennyf dri o blant a aned yma. Ond nawdd Duw a'r saint rhag y trigolion, oddigerth y sawl o honynt sydd yn Saison, ac nid da mo honynt hwythau oll. Annerchwch fy nghyfaill Parry o'r Fint, a Pherson y Tŵr Gwyn, a Sion Owen fwynwr, ie, ac Andrew Jones, a phob wyneb dŷn a'm hadwaeno. Duw gyda chwi oll. Mi fyddaf yn disgwyl llythyr yn mhen chwe' mis. Mi wyf yr eiddoch, &c.,

GRONWY OWEN.

## LLYTHYR 47.

AT MR. WILLIAM MORYS.

DONNINGTON, May 7, 1752.

DEAR SIR,

NAGE, Fy Anwyl Gydwladwr,—diledïaith! a ddylaswn ddywedyd, eithr os chwi a'm hesgusoda am hyn o dro, chwi a gewch o Gymraeg y tro nesaf.

Yours of the 27th ult. I must own. I am exceedingly ashamed of my poor performance; as to the printing of it, it is to me indifferent; I am no way fond or ambitious of appearing in print and commencing *author*, for now (thank God) I have no vanity to be gratified by so doing, and if ever I had, my own sense, as I grew up, overpowered and mortified it; and this troublesome world (with my narrow circumstances in it) has now effectually killed it, root and branch. However, if Mr. Ellis and you think it will do any good (besides gratifying men's curiosities and affording matter for criticism) I shall willingly comply with your desire. If it will be printed, I like your method well enough, I mean of putting the Scripture proofs in the margin. I am sorry I cannot send it you so prepared at this time; the reason why is that Mr. Lewis Morris was pleased to favour it with an examination, and marked out some few slips in it as to the poetry, which I have since endeavoured to correct, but with what success, I have not yet

heard; and I am not willing that any thing of mine should be made public without the consent and approbation of my tutor. I thought once to have deferred answering yours till I had heard from your brother, but a post or two is no very great loss of time, tho' the worst to be feared is that franks are scarce in Anglesey.* Half a sheet of paper, such as the ballad is printed on, would contain almost twice as many lines as the Cywydd consists of, and perhaps (if God enables me, and the world allows me time) I may make something that may be thought at least equal to *Cywydd y Farn*. If I had time to spare, my chief desire is to attempt something in Epic Poetry; but the shortness of the measures in our language makes me almost despair of success. I have not a turn of genius fit for ludicrous poetry (which I believe is best relished in Wales), and you will see that the few little witticisms in *Cywydd y Farf* are rather forced than natural. D. ab Gwilym was perhaps the best Welshman that ever lived for that kind of Poetry, and is therefore very deservedly admired for it; and tho' I admire (and even dote upon) the sweetness of his Poetry, I have often wished he had raised his thoughts to something more grave and sublime. Our language undoubtedly affords plenty of words expressive and suitable enough for the genius of a Milton, and had he been born in our country, we, no doubt, should have been the happy nation that could have boasted of the

grandest, sublimest piece of poetry in the universe. Our language excels most others in Europe, and why does not our poetry? It is to me very unaccountable. Are we the only people in the world that know not how to value so excellent a language? Or do we labour under a national incapacity and dulness? Heaven forbid it! Why then is our language not cultivated? Why do our learned men blame the indolence of our forefathers in former ages for transmitting so little of their language to posterity and live in indolence themselves? This is the case for ought I can see yet, and our posterity four or five hundred years hence may (for any thing we do to prevent it) judge us to have been in this age as barbarous and unlearned as we conceive our ancestors to have been in the time of the Saxon Heptarchy. And if our countrymen write any thing that is good, they are sure to do it in English. Pa beth yw hyny ond iro blonegen? Are they afraid that their own language should gain any thing by them? or are they unwilling that their countrymen should get their knowledge at too cheap a rate unless they go to the trouble of learning English? But what would I be at? Certainly we are all the offspring of our antient Druids, and perhaps it may have come natural to us (as it was usual with them) to confine all our language to our own heads, and let posterity shift for themselves, as we have done before them.

My compliments to Mr. Ellis, and great many thanks for all favours. I think I heard that you are married to either Miss Jenny or Miss Nelly Hughes; if you are to one of them, I wish you good luck and my compliments to your spouse, and accept the same yourself. From, Dear Sir, Your most obedient humble Servant,

GRONWY OWEN.

*alias* GORONWY DDU O FON.

N. B. I should be glad to hear from you at your leisure.

## LLYTHYR 49.

### AT MR. RHISIART MORYS.

DONNINGTON, May 30, 1752.

DEAR SIR,

Your favour of the 19th instant is come to my hands, and though I cannot sufficiently thank you for your good will, yet I can't tell how to accept the offer. My situation here is none of the best nor of the worst; it is considerably preferable to that you mention, but Anglesey has some advantages that Shropshire cannot boast of. How the market goes now I cannot tell, but in my time 20 pounds in Anglesey would have gone as far as 40 in Shropshire. But above all, by living in Anglesey I should be able to make my lads Welshmen, which here is utterly impossible. We

have a proverb, and a very true one, "A rolling stone gathers no moss." And except I had something better and more certain than a curacy, it is not, cannot be, worth my while to come to Wales. I could easily better myself by a curacy here in Shropshire; but the difference between one curacy and another is so very inconsiderable, that the best is not worth removing five miles for, and would hardly make one amends for his trouble in shifting and the damaging of his goods. Yet still they are better than in Wales. And what shall we say of removing wife and children so far! I am here in the midst of good friends that are ready to help me in an emergency, but in Anglesey I cannot promise that happiness. There are not two gentlemen in the universe that I would more willingly serve than Mr. Bennet and Mr. Jones. But charity begins at home, you know what I mean. By those hints you will be able to give Mr. Jones a determinate answer: but I beg you would at the same time present my hearty respect and duty to both him and my old Master, Bennet, and my humble thanks as a grateful acknowledgment for past favours. My compliments to Mr. Ellis; tell him I shall shortly send him the Cywydd prepared as he desires. Rhowch fy ngharedig annerch at eich tad a'ch mam, a dywedwch wrth eich mam fy mod hyd y dydd heddyw yn cofio ac yn diolch iddi am y frechdan fêl a gefais ganddi, ac odid na chofia hithau ddywedyd o honof y pryd

hynny, "Ped fai gennyf gynffon mi a'i hysgydwn." Tell William Elias that I know Hugh Williams better than he does, and consequently, what sort of poet he is. You see I have no room to write any more than that. I am your obliged humble Servant,

GRONWY OWEN.

## LLYTHYR 50.

**TO OWEN MEYRICK, OF BODORGAN, ESQ.,**
**One of the trustees for two exhibitions out of the county of Anglesey, for the maintenance of two young men in the University of Oxford or Cambridge.**

20 Sept. 1741.

HONORANDE DOMINE,

INTER innumeras alias tuas virtutes, quas recensere nequeo, egregia illa fama, quæ de te fertur in adjuvandis vestratibus litterarum studio addictis, mihi animum addidit, ut te hoc modo vexare audeam: adolescentulus sum 18 annos natus, in parochiâ de Llanfair in Mathavarn Eithav ortus, in agro Monensi. Summâ perpauperum parentum industriâ apud Scholam publicam Bangorensem versatus sum ab anno 1737 ad 1741. Quo tempore ad metam propositam perveneram, manum ferulæ subduxi, et ad parentes me contuli. Matre autem defunctâ, Pater uxorem duxit, Egoque sine cortice nare coactus sum; et laborem[1] parum assuetus, nescio quomodo victum quæram: litteræ

[1] *Labori*, according to another copies.

mihi nihil aliud sunt nisi addita lumina, quibus miseriam meam magis perspicuè prospicio. Malè collato beneficio me parentes non rectè educarunt; me pósthac æstimo infeliciorem ullo agriculâ, rerum suarum bene perito, nî Mæcenas quidam tempestivam opem mihi tulerit. Ad te igitur me supplicem confero, auxilium petitum, quippe qui curator es quorundam charitatis donorum, datorum e benignitate in usum pauperum; litteris imbutorum, ut ad Academiam mittantur; quæ si assequi possem officii cujusdam aut Ecclesiastici aut ejusmodi ingenui, me capacem redderent. Si paupertas pro merito habeatur, nescio quin Ego sim tuo favore dignissimus. Sum, Humanissime Vir, tibi obsequentissimus et humillimus servus,

GRONWY OWEN.

Ad Audoenum Meyrick, Armigerum, apud domum suam, in vico Duke street vocato, Londini.

---

*Translation.*

HONOURED SIR,

AMONG your numerous other virtues, which I cannot recount, that noble reputation which you enjoy of assisting your countrymen who are addicted to literary pursuits, has given me courage to trespass on you in this manner. I am a young man, eighteen years of age, born in the parish of Llanvair Mathavarn Eithav, in the county of Anglesey. By the unwearied industry of my

parents, who are exceedingly poor, I was enabled to attend the Public School at Bangor, North Wales, from the year 1737 to 1741. At this time, I had reached the limit proposed to me there, and gone through the studies of the School; and then returned to my parents. My mother was dead, and my father married to another wife; and I was left to struggle on alone. Unaccustomed as I am to labour, I see before me no means of getting a livelihood; and learning is no more to me than an additional light, by which I discern more clearly the wretchedness that awaits me. The benefits my parents have conferred on me are injuries, and my education quite unfitted for me; and I must look upon myself as more unhappy than any country labourer, who has learnt his business, if some Mæcenas does not afford me seasonable aid. I come, therefore, as a suppliant to you, to beg your assistance, as you are Trustee to some charitable donations, kindly given for the service of the studious among the poor, that they may be sent to one of the Universities. If I can obtain this, it may fit me for some liberal profession, whether in the Church or elsewhere. If poverty be esteemed a merit, I know not that I am not, more than any one else, deserving of your favour. I am, most kind Sir, your very obedient and humble servant,

GORONWY OWEN.

To Owen Meyrick, Esq., Duke-street, London.

**On CAPTAIN THOMAS FOULKES' Escape in a Great Storm, Sept 10th, 1741, when he was drove by a hard Gale at East from Lianus Point to the north of Ireland, and had all his Rigging and Sails demolished.**

---

Quid crepat! Haud intra ripas se continet æquor?
Numquid dejectum tecta, feruntur aquæ?
Væ misero nautæ pelago qui credere vitam
Sustinet, insanis jam periturus aquis;
Qualiter! heu quali fremitu furit Eurus in undas
Qualiter oppositam verberat unda ratem!
Vertice jam cœlum tangit, jam fertur in orcum,
Spreta sibi quondam littora nauta cupit:
Iratum numen Pelagi prece vexat inani;
Littus ut attingat millia vota vovet.
*Stulte,* nimis sero moriundus pectora plangis,
Sero nimis, periens æquore, littus amas.
Si semel attinges littus, ne rursus ad æquor
Vela daturus eas, ne patiaris idem;
Kybæi[1] Templum petito cum vestibus udis
Quas suspende, memor quanta pericla fugis.

[1] Kybi is the Patron Saint of Holyhead, and the Church is called after his name. There is a Sea Quadrant hung up in the said Church in memory of seventeen voyages to the West Indies performed by the help of the said Quadrant by Jno. Wheldon, mariner.

**Some further thoughts on the necessity and non-necessity of going to sea. Wrote for the benefit of Admiral Coytmore and some ladies, passengers in the above voyage.**

Hoc fuit antiquè dictum, Docet omnia venter,
Mortales pelágus ventre docente petunt;
Nam durum est telum duris in rebus egestas,
Vitæ profus.........hæc facit esse viros.
Sed multos video, nihilo cogente, periclis
Se dantes, queis sunt res famulique domi:
Vivere qui possent fœlices rure paterno
Almâ, sique velint, usque quiete frui.
Ille fuit certè ferro præcordia cinctus
Qui se sustinuit credere primus aquis,
Quando Deucalion lapides jactavit in orbem
Non illum lapides mollificasse reor;
In cor durities lapidis migravit, & illic
Restat adhuc, nullis mollificanda modis,
Audacis Japeti dirum genus omnia tentat;
Non quidquam metuit; per scelus omne ruit.

GRONOVIUS OWAIN,
Alias GRONWY DDU O FÔN.

# COFFADWRIAETH

AM Y

# PARCH. GORONWY OWEN,

## YN EGLWYS GADEIRIOL BANGOR.

M . S .

REV . GRONOVII . OWEN . A . M . E: COLL: JESU . OXON .

POETÆ . APUD . NOSTRATES . CELEBERRIMI .

QUI . IN . INSULA . MONA . NATUS . ANN . SAL . M . D . CC . XX . II .

OMNIBUS . FERE . BONIS . LITTERIS . IMBUTUS .

PATRIAM . LINGUAM . DEVINCTISSIMO . AMORE .

EXCOLUIT : AUXIT . DITAVIT .

TANDEM . QUUM . ILLI . BENE . DE . LITTERIS . BENE . DE . PATRIA . MERITO .

NULLUS . TAMEN . MÆCENAS . ADRIDERET .

NULLUS . EUM . PATRONUS . EXCIPERET .

QUOD . SUI . NEGARANT . APUD . EXTEROS . QUÆRENS . PERFUGIUM .

IN . TRANSATLANTICIS . TERRIS .

OBSCURUS . VIXIT . IGNOTUS . OBIIT .

NE . TALIS . VIRI . PENITUS . EXOLESCAT . MEMORIA .

HOC . QUALECUNQUE . SIT . MONIMENTUM .

MONENSES . SUI . ET . ALII . QUIDAM . ΦΙΛΟΜΟΥΣΟΙ .

PONENDUM . CURAVERUNT .

M . D . C . C . C . X . X . X . I .

**Tra haul mwyn yn dwyn gwên dydd—ac enaid**
**I gwyno ing prydydd;**
**Yn haeddu ei barchu bydd**
**Goronwy gawr awenydd.**

**Gwaith ei gerdd yn goeth a gawn—brif orchest**
**Brawf archwaeth synwyrlawn;**
**Ei gofio haeddai'n gyfiawn**
**Arwr dysg ac eryr dawn.**

**Daniel ap Ieuan Ddu o Geredigion.**

# GWALLAU YN Y GWAITH.

DIANGODD rhai gwallau yn anocheladwy, yn gymaint a bod yr Argraffydd a'r Golygydd yn cyfaneddu gryn bellder oddiwrth eu gilydd, er nad.ydynt ond ychydig o nifer, a'r rhai hyny yn benaf yn y Lladin.

Tu dal 247, Sfed lliuell, darllener anachronism. Yn lle ascitancy darllener oscitancy. 158, yn lle Anglis darllener Anglicè, yn lle Cambris, Cambricè, yn lle castrium, castrum, yn lle Provisianum, Povisianum.. Ond sylwed y darllenydd mai achos yr amryfusedd oedd dylyn y Copi argraffedig yn llythyrenol. Yn ystod golygiad y gwaith, cyfarfuasom a dyfyniad neu ddau o'r beirdd clasurol ag oeddynt yn amlwg wedi eu llygru yn yr argraffiadau cyntaf. Ni chymerasom y rhyddid pa fodd bynag i gyfnewid dim ond yn yr amgylchiadau lle yr oedd y *gwall* a'r *cywiriad* yn lled amlwg a diamheus, megis yn y cyfeiriadau uchod er esampl.

